

L. E. Price, Llanelidan.

Y Diweddar Emrys ap Iwan.

(Cymmerwyd Mehefin 11eg, 1904.)

# Homiliau.

GAN Y DIWEDDAR

Parch. R. Ambrose Jones

(EMRYS AP IWAN).

---

AIL GYFRES.

ARGRAPHWYD A CHYHOEDDWYD GAN GEE A'I FAB CYF., DINBYCH.

1909.

# CYNNWYSIAD.



# CYFLWYNAIR,

I'R

## AIL GYFRES.

———:o:———

Cyhoeddir yr ail gyfres hon o Homiliau Emrys ap Iwan am eu bod yn deilwng, ac am fod galw am danynt. Gresyn na chawsai yr awdwr egwyl yn ei fywyd i'w dethol a'u trefnu, a bod y gwaith hwnnw wedi digwydd i arall. Ond gwnaeth hwnnw ei orau. Nid yw yr holl Homiliau wedi eu dydd-nodi; etto gwyddis fod rhai o honynt wedi eu cyfansoddi er ystalm, a bod yr awdwr, yn y cyfamser, wedi ymnewid cryn lawer mewn rhai pethau. Ond gwelir oddi wrth y driniaeth a roes efe i'r Homiliau cyntaf pa fodd, pe cawsai fyw, y triniasai efe y rhai hyn; ac amcanwyd gwneuthur megis y gwnaethai efe.

Yr oedd ei arddull mor gref a glân a phersain ddeng mlynedd yn ol ag ydoedd yn niwedd ei oes: ac am hynny ni chyffyrddwyd â hi. Ond yr oedd rhyw neilltuolion yn britho ei ysgrifau y pryd hwnnw na fynnai efe ddim o honynt yn ei flynyddoedd diweddaf. Yr oedd cypliad rhagenwau, a chwtogiad enwau, ansoddeiriau, a berfau yn bethau hoff ganddo ar un adeg. Ysgrifenai "iddo-fo," "iddyn-nhw," "tada," "teidia," "geiria," "gora," "cefis," "wrthyn," "attyn," "'dalle-fo," "ddaethe-fo," "byddanw," "iddynw," "maenw." Deolwyd y pethau hyn, megis yn ddïau y deolasai yntau hwynt. Ni welwyd

achos, namyn hynny, i newid na chywiro. Trefnwyd yr Homiliau yn ol lleoliad y testynau, heb olwg ar eu hamseriad na dilyniad y meddyliau. Ofer dyfalu ym mha drefn y gosodasai yr awdwr hwynt; ond hyn sydd sicr, y ceir pob un o honynt yn gyfanwaith gorphenedig, ac y darllenir hwynt gyda boddhâd ym mha drefn bynnag y gwneir hynny.

Gofynwyd lawer gwaith er pan gyhoeddwyd y gyfrol gyntaf:—*Pwy a pha fath un ydoedd Emrys ap Iwan?*

I atteb y gofyniad deublyg hwn yn llawn, byddai raid wrth gyfrol gyfan. Ond ni ellir yma wneyd mwy na rhoddi y cyfryw grynodeb o brif ffeithiau ei fywyd a phrif nodweddion ei gymmeriad ag a fyddont er mantais i rai o leiaf i fwynhau ei Homiliau yn well.

PWY YDOEDD?

Ganwyd ef mewn lle a elwir Brynaber, gerllaw Abergele, ar y 24ain o fis Mawrth, 1851. Yn Abergele y treuliodd efe flynyddoedd cyntaf ei oes, a hynny yn lled debyg i blant eraill y fro. Yn ysgol ewythr iddo, ac wedi hynny yn yr Ysgol Genedlaethol, y derbyniodd efe elfennau cyntaf ei addysg. Aeth yn 1864—pan yn 13eg oed—i Lerpwl, gyda phum swllt yn ei logell. Bu yn gwasanaethu masnachwyr yno am ychydig dros flwyddyn; ond gan na theimlai yn gwbl foddlawn ar y cyfeiriad a gymmerasai, dychwelodd i Gymru. Aeth yn arddwr i balas Kinmel, a bu yno dair blynedd. Yn y blynyddoedd hyn, cododd awydd ynddo am fod yn bregethwr. Derbyniodd gefnogaeth yr eglwys yn Abergele, ac aeth yn 1868 i Athrofa y Bala; a mŷn ei gyfaill, Iolc Caernarfon—oedd yno yn gyd-efrydydd âg ef,

"Nad aeth dyn
Mwy dewr a medrus i ddynoethi twyll,
Parotach fyth i ddioddef dros y gwir,
Hawddgarach neu ffyddlonach, nag oedd ef,
Erioed i Athen Gwalia."

Treuliodd bedair blynedd yno mewn egni dyfal, a chyrhaeddodd le uchel iawn ym marn yr athrawon, yn enwedig yr eiddo Dr. Parry. Gwelai ef ddyfodol gwych iddo. Wedi gadael yr athrofa, aeth i'r Cyfandir—i Lausanne, yn yr Yswisdir. Arosodd yno ddwy flynedd yn astudio ieithoedd, ac yn ymgynnefino â nodweddion ac arferion y bobl. Wedi dychwelyd i Gymru, ymgartrefodd yn Nhywyn, Abergele. Tra yno y daeth efe yn hysbys fel llenor Cymreig, ac y cyfansoddodd y "Camrau mewn Grammadeg Cymreig"—un o'r llyfrau mwyaf cynnorthwyol i ysgrifenwyr ieuaingc yn yr iaith Gymraeg. Ym mhen ysbaid gwahoddwyd ef i Swyddfa y "Faner," ac arosodd yno dros flwyddyn. Ond nid oedd chwyrnell y newyddiadurfa yn dygymmod â'i anian. Gwell oedd ganddo ef araf-godi cedrwydd i fyw, na chwyrn-dyfu brwyn i farw. Mynnai ysgrifenu yn dda, ac i hynny mynnai hamdden. Yn y flwyddyn 1887 gwahoddwyd ef i ofalu am eglwys Rhuthyn ; a bu yno hyd Ragfyr, 1894. Gallasai fod yno lawer hwy pe mynnasai, ond credai ef yn gryf mewn tymmorau byrion. Tra y bu efe yno y codwyd y Tabernacl, sef yr addoldy presennol; a thraddododd y drydedd-ar-ddeg o'r Homiliau hyn ar ei agoriad.

Aeth o Ruthyn i ofalu am eglwys Trefnant, a bu yno yn fugail tra chymmeradwy am chwe blynedd. Yn ddiweddaf oll, galwyd ef i ofalu am eglwys y Rhewl, lle y parhaodd am y pum mlynedd olaf o'i oes ; ac yno y bu efe farw, Ionawr 7fed, 1906, ar brydnawn Sabboth.

PA FATH UN YDOEDD?

Un nodwedd amlwg ynddo ydoedd *ëangder gwybodaeth.* Yr oedd ei feddwl yn ystorfa gyfoethog o ffeithiau wedi eu casglu trwy lafur dyfal. Darllenai lawer, a myfyriai yn ddwfn; ond ymgadwai yn lled lwyr at y prif awduron. Aristotle, Plato, Leibnitz a Kant oedd ei brif athronwyr; dysgodd hanes yn bennaf o Plutarch, Grote, Gibbon, Green a Gardiner. Yr oedd yn hysbys yn nysgeidiaeth dduwinyddol Awstin, Calfin, Owen, Howe ac Edwards; a phwysai yn hyderus, er nad yn wasaidd, ar rai o honynt, er fod ei adnabyddiaeth o grefyddau y byd wedi cymmedroli ac ëangu rhai o'i syniadau ym mhell cyn i astudiaeth "crefydd gymmhariaethol" *(comparative religion)* gyrhaedd y safle a'r dylanwad sydd iddi yn awr. Meistrolodd ieithoedd yr Almaen, yr Ital, y Spaen, Ffraingc a Phrydain, a gallai ymddiddan a phregethu yn rhwydd mewn rhai o honynt; ac nid hynny yn unig, ond yr oedd yn gyfarwydd â'u gwreiddiau, eu perthynasau a'u cystrawiaeth. Yr oedd gweithiau ieithofyddol Zeuss a Joyce, Bain a Borel, Sauer a Rhys, Dafis a Rowland mor hysbys iddo a rhediad y Glwyd. Nid ymarddelwai yn fardd, ond hoffai farddoniaeth; a daeth yn gyfarwydd â gweithiau Dante, Shakespere a Milton, ynghyd ag Islwyn, Ceiriog, ei gyfaill Iolo Caernarfon, ac eraill o feirdd ei wlad ei hun.

Nid casgliad y lloffydd chwaith ydoedd ei wybodaeth, ond ffrwyth addfed ei feddylgarwch. Gwyddai ddigon o feddyleg i'w alluogi i adnabod gweithrediadau cynneddfau y meddwl, ac i dreiddio hyd ryw fesur i hanfodion pethau. Yr oedd ei allu rhesymmegol mor fawr a'i ddychymmyg mor gryf a diwylliedig, fel y medrai wrth fwynhau feddiannu hefyd. Heb law hynny yr oedd wedi

ymgyfarwyddo â botaneg, daeareg, a rhai gwyddoregau eraill nes gwneyd ei hun yn sylwedydd manwl. Yn wir, ei allu i sylwi oedd un o'i ddoniau pennaf; a diammheuol yw y daeth, drwyddi hi a doniau eraill, mor ëang ac amrywiol ei wybodaeth fel y bernid ef gan rai cymmhwys i farnu yn un o wŷr mwyaf gwybodus ei wlad.

Nodwedd arall amlwg ynddo ydoedd *nerth ac annibyniaeth meddwl.* Ni lefarai lawer; yr oedd yn hytrach yn dawedog. Ond pan lefarai, efe a feddyliai hefyd. Gwelid yn ebrwydd ei fod yn byw ym myd y meddwl, wedi ymgyfoethogi ynddo, ac yn gallu dwyn allan o'i drysorau bethau newydd a hên. Pan ogleisid ef bwrlymai gan arabedd a hoen; a gallai ar adegau fod yn frathlym iawn, ond yr oedd bob amser yn gwbl ddi-wenwyn. Pan ymdrinid â phethau pwysig, nid ail adroddiadau ystrydebol a geid ganddo, ond meddyliau newydd mewn iaith mor newydd a hwythau. Pan yng nghwmni cyfeillion a phlant—ac yr oedd pob plant yn gyfeillion iddo—yr oedd mor hydwyth a brwynen; llithrai i'w profiadau, ac anwesai eu gwendidau. Ond pan elid at egwyddorion a thrymion bethau, yr oedd fel y gedrwydden, a'i wraidd wedi ymglymmu am greigiau ei argyhoeddiad. Ni syflai tymmestl ef. Yr oedd ei gred wedi costio yn rhy ddrud iddo, a'i afael yn rhy dỳn am dani i gorwynt ei ysgogi. Dringasai i fryn argyhoeddiad ar hyd lwybrau di-sathr—llwybrau a dorrasai efe iddo ei hun; ond wedi cyrhaedd yno, safai yn ddi-sigl. Parai hyn iddo gael ei gamfarnu ar adegau. Ysgafn-dybiai ambell un nad oedd yn gwbl gywir i'w Gyfundeb, o ran ei ffydd a'i ffurf, ond yr oedd hynny oblegid y gallu a feddai i weled agweddau ar wirionedd na welid ganddynt hwy. Cadwai *ffydd* ei Gyfundeb, nid am fod y Gyffes Ffydd yn gofyn hynny, ond am ei fod wedi dyfod, trwy hir fyfyrdod, i gredu fod y ffydd honno

yn iawn. Cymmeradwyai *ffurf* ei Gyfundeb, nid am fod y llysoedd eglwysig yn disgwyl hynny, ond am ei fod yn credu mai y ffurf sydd arno yw y fwyaf cysson â'r Ysgrythyr, y fwyaf cydnaws âg anianawd y genedl Gymreig, a'r fwyaf cyfaddas i'w llesoli. Ni folai bobpeth. Teimlai fod rhai pethau ynddo o'r ddaear yn ddaearol, a galwai hwynt yn "ffrilion." Ond yr oedd ei ffydd yn yr hanfodion yn gref, ac yntau am hynny yn ffyddlawn.

Am ei fod yn gosod ei fys yn lled fynych ar ddiffygion ei wlad, barnai rhai ef yn anwladgarol. Ond ni fu erioed fwy camgymmeriad. Yr oedd yn wladgar i waelod ei galon; ac am ei fod yn wladgar y dywedai y gwir, er i hwnnw fod y caswir. Nid ewyn y llwyfan Eisteddfodol oedd ei wladgarwch ef, ond ffrwyth hir ymgydnabod â hanes ei wlad. Gwyddai yn dda am helbulon Cymru fu; deallai ragorion a diffygion Cymru sydd; a dyhëai am gyfodiad a llwyddiant Cymru fydd. Credai mai cyfiawnder a ddyrchafa genedl, ac am hynny ymegnïai beunydd i gael ei gyd-wladwyr i rodio yn ffordd cyfiawnder. Ni feddyliai neb yn uwch nag ef o allu ei llenorion a'i phregethwyr; ond gwyddai yn dda nad all cenedl fyw yn unig ar ogoniant ei gwasg a'i phwlpud. Ymlawenychai yn ei llwyddiant cymdeithasol a gwladwriaethol; ond credai nad ar bwys y llwyddiant hwnnw yr esgynai i nerth a dylanwad. Credai fod bodolaeth cenedl yn dibynnu i fesur mawr ar gadwraeth ei hiaith, a pharhad iaith yn dibynnu ar ragoroldeb ei llenyddiaeth; ac am hynny gwnaeth ei orau i buro y naill a choethi y llall. Ac os yw ceinder arddull, coethder iaith, cyfoeth meddwl, gloewder a llyfnder geiriad, mewn undeb â nerth ymresymiad a dwysder teimlad, yn nodweddion gwir lenyddiaeth, rhaid addef fod Emrys ap Iwan yn un o'i chreawdwyr. Ond wedi'r cwbl, credai ef mai cyfiawnder a

gwirionedd a santeiddrwydd yw y pethau mawr a gadwant genedl yn fyw. Un o brif amcanion ei fywyd, gan hynny, oedd "codi'r hen wlad," nid "yn ei hol," ond yn llawer uwch nag y bu erioed. Oblegid hyn y rhoes efe gyfeiriad mor ymarferol i'w weinidogaeth, y cadwodd efe ei lygad ar y nod hwn beunydd, ac na throai yn ol er neb.

Ond tra yn annibynol ei feddwl, yr oedd hefyd yn hael ei galon. Ni pharodd ei wreiddiolder iddo ymgrebachu. Aeth ar hyd ei ffordd ei hun heb fyned yn hunanol. Yn ddiau, adwaenid ef fel un *haelfrydig*. Nid oedd ganddo fodd i fod yn haelionus. Ni feddai arian, na chariad arnynt. Os caffai ymborth a dillad a llyfrau, ymfoddlonai ar hynny. Ond yr oedd yn haelfrydig yng nghyflawn ystyr y gair, os yw y gair yn cynnwys yr ystyr a olygir. Dywedai ef, weithiau, nad oes gan Gymry y dyddiau hyn ddim gair da am *generous*, ond fod gan y Cymry gynt air prydferth a barddonol iawn, sef "bronheilin"—hael ei fron. Un felly oedd yntau. Cydymdeimlai â'r gwan a'r gwylaidd, yr ofnus a'r anghenus, a rhedai i'w cynnorthwyo. Llygaid oedd i'r dall, traed oedd i'r cloff, tad oedd i'r anghenog ; gwnai i galon y weddw lawenychu, a'r cwyn ni wyddai a chwiliai allan. Ac ni chwiliai yn ofer, canys nid hawdd ei dwyllo. Yr oedd ei olygon fel pelydr X, yn treiddio trwy gyssylltiadau llurig y rhagrithiwr, ac yn barnu calon y rheidus a'r gofidus. Gallai drwy ei ddychymmyg bywiog osod ei hun yn eu hamgylchiadau, a thrwy ei galon gynnes gydymdeimlo â hwynt. Gwyddis y byddai yn fynych yn rhannu "ei holl dda," ar ol cadw ychydig at ei angen. Yr oedd ei galon yn llawer mwy na'i logell, ac am hynny nis gallai wneuthur fel yr ewyllysiai. Ond gwyddai llawer fod ei galon yn rhedeg attynt er fod ei logell yn wâg ; a daethant, wedi ei nabod, i'w gydnabod fel un *bronheilin* iawn.

Peth arall amlwg ynddo ydoedd *aniangarwch*. Hoffai anian yn ei holl agweddau. Swynid ef gan y prydferth, a synnid ef gan yr arddunol. Treuliodd ei oes yn Nyffryn Clwyd a'i gyffiniau, a gadawodd godidogrwydd y dyffryn ei ôl arno. Mynych safai ar ysgwyddau y Fammau a'r Fenlli i syg-ryfeddu ei ryfeddodau. Rhodiai ar hyd ei ddolydd, crwydrai yn ei goedwigoedd; swynid ef gan y glaswellt a'r melynwellt—gan wyrdd-ddail y gwanwyn, a chan ddail amryliw yr hydref. Cynhyrfid ei holl natur gan yr arddunol. Yr oedd mawredd a distawrwydd y mynydd, rhu y daran, gwib y fellten, a chwiban y gwynt yn cynnyrchu ynddo, nid dychryn, ond *ofn*—yr ofn parchedig hwnnw a godai o deimlo ysbryd mawr anian ynddynt oll. Y prydferth, er hynny, a'i swynai fwyaf. Carai sylwi ar "edyn y gloyn byw, ar odreon y cwmmwl yn ymdaenu dros wyneb haul yr hwyr, a gwrando ar yr aderyn pengoch yn canu yn llon, a'r aderyn penfelyn yn canu yn brudd; ar y gwynt yn ymguro yn erbyn y dail, a dyfroedd yr afon yn ymguro yn erbyn y cerrig." Ni flinai ar liw a llun y blodeuyn, ar nwyf yr ebol a'r oen, ac yn enwedig ar gân yr aderyn. Dywedai mai "angylion y nef isaf" yw yr adar, a bod yn resyn i neb feddwl am fyned i'r nef uchaf heb gymdeithasu â hwynt ar y ffordd. Credai fod y neb a garai aderyn bach yn meddu cryn lawer o wir ddynoliaeth. Daliwyd ef unwaith gan dymmestl ar lechwedd un o'r Alpau. Rhedodd am gysgod i fwthyn bugail. Pan ddaeth y preswylydd cuchiog, barfog allan, meddyliodd Emrys mai *brigand* ydoedd, ac ofnodd. Ond pan welodd aderyn mewn cawell wrth ei ddrws, ac oen llawfaeth yn llammu wrth ei droed, "mi a feddyliais," ebai, "ei fod cystal dyn a minnau, a dyweyd y lleiaf." Elai yn fynych i'r Cyfandir, nid yn unig i gyfoethogi ei feddwl, a chryfhau ei gorff, ond hefyd i fwynhau anian ar ei gorau—i weled "Touraine, paradwys Ffraingc, tir y

dyfroedd tawel," y "Rhon a'r Rhein yn llifo," llynnoedd gloewlas "yr Yswisdir," a'r Alpau mawreddog. Yr oedd anian weledig, yn ei miriant a'i mawredd, yn hoff iawn ganddo. Ond er cymmaint ei gariad arni yn y wedd hon, nid oedd yn ogymmaint a'i edmygedd o honi yn ei ffurf uchaf, mewn *dyn*. Credai fod y ddynoliaeth *yn un*, am fod Duw yn un. Chwiliai am ddyn mewn dynion, a gwelai ef yn fynych mewn lleoedd annhebyg. Am hynny, er fod ei ddelfryd o ddyn yn uchel, yr oedd ei gydymdeimlad â dynion yn fawr iawn. Pa ryfedd, gan hynny, fod dynion yn ei garu?

Nid oes ofod yn y rhagair hwn i redeg yn hir ar y llinellau hyn. Yn wir, braslun a fwriedir, ac nid darlun. Ni byddai yr un darlun yn gyflawn heb sôn llawer am ei onestrwydd di-weniaith, am ei ffyddlondeb i'w gyfeillion, am ei hynawsedd di-absen, am ei oddefgarwch a'i wrolder, am ei arabedd a'i hoen, am ei allu fel dadleuydd, am ei weithgarwch a'i grefyddolder. Ni chollodd gyfaill erioed oblegid ei dwyll, ac ni wnaeth elyn oblegid ei absen. Yr oedd ei wrolder yn ogymmaint a'i ostyngeiddrwydd. Cadwai yn y cysgod fel Diogenes, ond ni chaffai un Alexander sefyll rhyngddo a'r haul. Ni fynnai ryfela; ond pan ddinoethai ei gledd, torrai esgyrn. Er hynny, gŵr hawddgar, myfyrgar a thawel ydoedd.

"Mor annibynol ag o bur a doeth—
Mor gyflawn o arabedd ag o serch,
Mor iach ei galon—ffyddlawn fel yr haul;
A gonest fel gwirionedd."

Llafuriodd yn ddyfal am ugain mlynedd mewn tair eglwys yn Nyffryn Clwyd, a gresyn na byddai modd cofnodi y llafur hwnnw. Pe gallesid adgynnyrchu y papyrau

a barottodd efe i'r plant a'r bobl ieuaingc, y gweddïau a weddïodd efe yn y cyfarfodydd gweddïau, yr annerchiadau a draddododd efe yn y cyfarfodydd eglwysig, a'r ymadroddion fyrdd a lefarodd efe wrth gyfeillion, buasai crefydd a llenyddiaeth Cymru ar eu hennill. Ond ni buont ofer. Suddasant i lawer calon, a ffrwythant mewn llawer bywyd. Bugail oedd, yn gwir fugeilio. Blaenoriaid mewn dwy o'i eglwysi yw ei ddau ysgutor; blaenor mewn un arall yw ei olygydd; a thystiolaeth y tri ydyw na welsant erioed mo'i well.

Gan ei fod yn gyfryw un, paham ynte na buasai yn fwy adnabyddus? Yr atteb yw, am na fynnai. Amaethodd ei feddwl, casglodd wybodaeth, myfyriodd yn ddwfn, llafuriodd yn galed, a chyssegrodd ei fywyd i wasanaeth Duw—yn bennaf yn yr efengyl. Er ei fod yn wybodus, ni ddefnyddiai ei bregethau i arddangos ei wybodaeth, ond ei wybodaeth i fywhau ei bregethau, gan eu gwneyd yn gyfryngau effeithiol i athrawiaethu a hyfforddi mewn cyfiawnder. Llesâd ac nid mwynhad oedd ei uchel-nôd. Cydnebydd y cyfarwydd fod yr Homiliau hyn yn demlau gwych; ond pe meddyliasai y temlydd wrth eu codi y byddai i ddynion sefyll i edrych ar degwch eu muriau, heb brofi arogl-darth yr addoliad ac ymwybod â goleuni y Shecinah *ynddynt*, efe a'u tynnasai i lawr heb adael o honynt faen ar faen. Yr oedd efe am i lestri tŷ yr Arglwydd fod o aur addurnedig, am eu bod yn ngwasanaeth Duw; ond yr oedd yn rhaid iddynt *fod* yn llestri, ac felly er gwasanaeth, onidê elent yn ei olwg ef yn ddim. Am hynny, priodol arfer am dano eiriau Alun:—

"Athrylith, athroniaeth, a dysg ar awenau
A blethent eu llawryf o gylch dy arleisiau;
Tithau'n ddifôst a dderbyniaist eu cedau,
I'w hongian yn offrwm ar drostan y Groes."

Bu farw wedi oes fèr, ond bydd fyw yn hir yn ei Homiliau. Cofied y darllenydd wrth eu darllen fod yr homiliwr yn fwy ac yn well na'r homiliau. Cofied fod bywyd glân yr arlunydd y tu ol i'r arluniau yn gefndir iddynt oll. Fe lanwodd Byron ei farddoniaeth âg athrylith ddisglaer, ac fe wnaeth Burns i rinweddau ymddangos yn odidog yn ei ganeuon; ond yr oedd bywydau y ddau yn andwyol. Meddai Bacon un o feddyliau mwyaf dwfn-dreiddiol ei oes; ond bu yn wiw ganddo werthu cyfiawnder am arian. Yma y mae pregethau y pen yn bregethau y galon a'r bywyd hefyd. Yma y mae gwres y defosiwn mor ddiammheuol a goleuni yr athrylith; a'r ddau yn gynnyrch yr un ffwrn—enaid ar dân. Gŵyr y rhai a'i hadwaenent, creded y rhai na welsant mohono, fod un homili fawr, na ellid ei hargraffu gyda'r rhai hyn, ond sydd yn fwy ac yn well na hwynt oll, ac a bery byth i fwrw ei gwawl arnynt oll, a honno yw *homili ei fywyd.*

EZRA ROBERTS.

RHUTHYN,

*Ionawr 18fed, 1909.*

# HOMILIAU.

---

## I.

## CREFYDD A GWAREIDDIAD.

"*A Lamech a gymmerodd iddo ddwy o wragedd: enw y gyntaf oedd Adah, ac enw yr ail Silah. Ac Adah a esgorodd ar Jabal; hwn ydoedd dad pob preswylydd pabell, a pherchen anifail. Ac enw ei frawd ef oedd Jubal; ac efe oedd dad pob teimlydd telyn ac organ. Silah hithau a esgorodd ar Tubal-Cain, gweithydd pob cywreinwaith pres a haiarn: a chwaer Tubal-Cain ydoedd Naamah. A Lamech a ddywedodd wrth ei wragedd, Adah a Silah, Clywch fy llais, gwragedd Lamech, gwrandewch fy lleferydd; canys mi a leddais wr i'm harcholl, a llangc i'm clais. Os Cain a ddielir seithwaith, yna Lamech saith ddengwaith a seithwaith. Ac Adda a adnabu ei wraig drachefn; a hi a esgorodd ar fab, ac a alwodd ei enw ef Seth: o herwydd Duw (eb hi) a osododd i mi had arall yn lle Abel, am ladd o Cain ef. I'r Seth hwn hefyd y ganwyd mab; ac efe a alwodd ei enw ef Enos: yna y dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd.*"—GENESIS iv. 19—26.

LLYFR y dechreuadau y mae rhai yn galw llyfr Genesis; ac yn y testyn, yr ydym yn cael hanes dechreuad gwareiddiad a dechreuad crefydd. Y mae'r hanes hwn yn

dangos fod gwareiddiad wedi dechrau yn llinach Cain, a chrefydd wedi dechrau yn llinach Seth, y mab a roddwyd i'n rhieni cyntaf i lenwi lle Abel. Lladdwyd Abel cyn iddo gael amser i ymddadblygu yn llawn; a phan anwyd Seth, enw sy'n arwyddo ad-dalwr neu ddigolledwr, barnodd Efa yn uniawn ei bod wedi cael ei digolledu am yr Abel cyntaf. Yn Adda, ymgyfarfu'r da a'r drwg, ar wahanol amserau, yn yr un person; ond yn ei feibion, ymddangosodd y da a'r drwg ar wahân, mewn dau berson; canys etifeddodd Cain y drwg a oedd yn ei dad, ac etifeddodd Abel y da oedd ynddo; am hynny, y mae'r Yscrythyr yn dywedyd fod Cain o'r drwg, ac Abel o'r da. Er fod Cain, yn ei ieuengctid yn grefyddol yn ei ffordd ei hun, etto, nid oedd efe yn dduwiol; am hynny, er gwaethaf ei offrwm cynnrychioli'r byd yr oedd efe. Abel oedd yn cynnrychioli'r eglwys; a phan y'i torrwyd ef ymaith, bu'r eglwys heb un pen daearol hyd amser Seth; er ei bod yn ddïau yn parhau i fyw mewn ambell aelod. Gellid casclu nad oedd Seth chwaith yn dduwiol er yn fachgen, fel Abel a Timotheus. Gan nad beth am hynny, yn nyddiau ei fab Enos y daeth efe allan yn arweinydd crefyddol—"yna y dechreuwyd galw yn gyhoeddus ar enw'r Arglwydd." O hynny allan, yr oedd Cain a Seth yn ben-campwyr dau lu gwahanol: meibion dynion a meibion Duw. Meibion dynion, meddaf, yn hytrach na meibion Belial; canys nid fel dynion drygionus yn fwyaf arbennig, yr ydys yn darlunio teulu Cain yn y testyn; eithr fel dynion anianol a bydol. Nid sôn yr ydys ynddo am bethau gwaethaf teulu Cain ac am bethau gorau teulu Seth; eithr am bethau gorau y ddau deulu. Nid drygioni un teulu, a daioni teulu arall sy'n cael eu cyferbynu ynddo; eithr rhagoriaeth naturiol y naill deulu a rhagoriaeth ysprydol y llall. Crefydd a gwareiddiad sy'n cael eu dal ynddo ar gyfer eu gilydd.

Er hynny, y mae'r testyn ar yr un pryd yn rhoi ar ddeall fod gwareiddiad teulu Cain yn ddrygionus yn ei wreiddyn, ac yn ddrygionus yn ei ffrwythau hefyd; a gellir dyweyd yr un peth am wareiddiad pob cenedl nad yw ei gwareiddiad yn gorphwys ar grefydd bur a dihalog. Pan aeth Cain allan o wydd yr Arglwydd, a thrigo yn nhir Nod y dechreuodd efe ymwareiddio, yn ystyr cyffredin y gair. Ar ol ei fyned ym mhell oddi wrth Dduw yr adeiladodd efe ddinas. Po bellaf yr oedd ei hiliogaeth yn myned oddi wrth Dduw, mwyaf oll yr oeddynt yn myned rhagddynt mewn gwareiddiad. Yr oedd eu cynnydd mewn gwareiddiad yn cydfyned â'u cynnydd mewn pechod. Yn nheulu Cain annuwiol y cychwynodd gwareiddiad, ac yr aeth rhagddo gyflymmaf. Yn ei deulu ef yr ymgododd y celfyddydau—y celfyddydau buddiol a'r celfyddydau cain. Efe ei hun, fel y dywedwyd, oedd yr adeiladydd cyntaf. Lamech oedd y bardd cyntaf. Jubal ei fab oedd y cerddor cyntaf. Jabal ei fab arall oedd y gwneuthurwr pebyll cyntaf; a Tubal-Cain oedd y gof cyntaf. A ydyw gwareiddiad, gan hynny, yn ddrwg, am ei fod wedi hanfod o deulu drwg? Nac ydyw, ddim yn ddrwg ynddo'i hun, mwy nag y mae llawer blodeuyn yn ddrwg am ei fod wedi tarddu o dommen dail. Er hynny, gall gwareiddiad ambell genedl fod yn achlysur mwy o ddrwg na barbariaeth cenedl arall. Onid yw cenedl wâr yn medru pechu mewn lliaws o ffyrdd na fedr cenedl anwar ddim pechu ynddynt; ïe, onid yw yn ffaith hyspys fod myrddiynau o farbariaid wedi eu gwneyd yn ganwaith gwaeth nag oeddynt o'r blaen, trwy ddyfod i gyffyrddiad â Phrydeiniaid ac Europeaid eraill, y sy'n ymffrostio yn eu gwareidd-dra? Yn wir, y mae rhagoriaeth gwareiddiad ar farbariaeth mor anamlwg i lawer, fel y mae rhai gwŷr galluog, megis Rousseau, wedi scrifenu llyfrau i geisio profi fod llawer o genedloedd anwar yn well dynion, ac yn

ddedwyddach hefyd na chenedloedd gwâr; ac yn wir, bum i fy hun, wrth deithio yn y Dwyrain, a gweled ambell dylwyth o Arabiaid yn pabellu yn ddiofal ar lannerch las, a'u praidd yn pori o'u hamgylch, yn cael fy nhemtio i ymofyn pwy oedd yn byw y bywyd hyfryttaf, ai hwynt-hwy ai nyni—pobl gwlad y meddwi a'r chwarau gerwin; gwlad y brys gwyllt a'r garw sŵn, gwlad y gweithfaoedd a'r mygau, gwlad y trenau y ceir ymmod a'r bisyclau. Buaswn yn atteb yn ddibetrus fod yr Arabiaid yn ddedwyddach o lawer, oddi mewn ac oddi allan, na'r masnachwyr goludog ac annuwiol yr ydys yn cenfigennu wrth eu llwyddiant ym Mrydain, yn yr America, ac yn Neheubarth Affrica. Os ydym trwy wareiddiad yn ennill llawer, yr ydym yn colli llawer hefyd. Wrth reswm, byddai gwir wareiddiad yn fendith ddigymmysc; ond nid am wir wareiddiad yr wyf fi yn sôn yn awr, eithr am y peth yr ydys yn ei gyfrif ac yn ei alw yn wareiddiad; sef y gwareiddiad y sy'n gwellàu cyflwr dynion heb wellàu dim ar eu natur, y gwareiddiad y sy'n eu galluogi i fyw yn foethus heb eu dyscu i fyw yn foesol; y gwareiddiad y sy'n eu cymmell i wellàu eu hunain trwy ddrygu eraill; y gwareiddiad y sy'n galluogi cenedl wael i ddarostwng cenedl well na hi ei hun yn unig am fod ganddi fwy o gyfoeth a mwy o arfau rhyfel; y gwareiddiad y sy'n prydyddu ac yn canu er mwyn cyffroi dynion i ryfel; y gwareiddiad y sy'n cymmell dynion i ddyfeisio gwell offerynau i ladd eraill nag i'w cadw yn fyw; y gwareiddiad y sy'n ymorphwys ar gelwydd a thwyll a thrais; y gwareiddiad y sy'n gwneuthur bragwyr a hap-chwareuwyr masnachol yn aelodau o Dŷ'r Arglwyddi ac o'r Cyfrin-gyngor; ac yn gwneuthur y dynionach mwyaf diegwyddor yn Llundain, yn Birmingham, ac yn Johannesburg yn eilunod; gwareiddiad y mae gau-Gristionogion yn ei ganmol, a gwareiddiad y mae gwir Gristionogion yn ei ffieiddio â'u holl gàlon; ar air, gwar-

eiddiad nad yw ddim amgen na barbareidd-dra o'r fath waethaf wedi ei wyngalchu oddi allan.

Yr ydys yn ymffrostio ym mhapurau inffidelaidd y deyrnas hon fod pregethwyr ffasiynol fel y diweddar Price Hughes a Joseph Parker, wrth gefnogi rhyfelgarwch, er mwyn boddhau y gwrandawyr ariannog a oedd yn eu cynnal, wedi gwneyd mwy o Gristionogion yn anffyddwyr nag a wnaeth Moody a Sankey o anffyddwyr yn Gristionogion; a gŵyr rhai o honoch fod Cristionogaeth er ys blynyddoedd yn myned yn hytrach yn ol nag ym mlaen yn Affrica, a bod Mohammediaeth yn myned rhagddi yno ar redeg. Pa ham? Am fod Cristionogion yn myned yno â Beibl yn un llaw, ac â chleddyf a chwrw yn y llaw arall, tra y mae'r Mohammediaid yn myned yno i ddyscu'r brodorion trwy deg, ac nid i'w meddwi, i'w hyspeilio, ac i'w lladd. Y mae'r brodorion, yn eu gwiriondeb, yn meddwl fod Cristionogaeth waedlyd Brydain yr un peth a Christionogaeth Crist, a bod y gwareiddiad sy mewn bri ym mhlith cenedloedd gormesol yr un peth a gwir wareiddiad, ac am hynny y maent yn gwrthod Cristionogaeth a gwareiddiad.

Er fod y Ffrangcod er ys oesoedd y genedl fwyaf gwaraidd yn y byd, etto ni ellir dyweyd fod eu gwareidd-dra yn fanteisiol i grefydd, na hyd yn oed i foesoldeb. Cenedl foesgar yn hytrach na chenedl foesol ydynt hwy. Am y Prydeiniaid a'r Prwsiaid, y rhai yr ydys yn eu cyfrif yn nesaf attynt mewn gwareiddiad, nid yw y rhan fwyaf o honynt hwy na moesol na moesgar. Po mwyaf y mae'r cenedloedd hyn yn ceisio dynwared y Ffrangcod yn eu gwareiddiad, mwyaf oll y maent yn ymdebygu iddynt yn eu hangrediniaeth a'u hanghrefyddolder. Y mae'r un peth yn wir am y dosparth mwyaf dynwaredol o'r Cymry;

canys onid y rhai sy barottaf i ddilyn y Saeson yn eu gau wareiddiad sydd hefyd barottaf i wadu iaith a chrefydd eu tadau? Da yw gweled ieuengctid Cymru yn darllen barddoniaeth Seisnig, ond nid da yw eu gweled yn darllen mwy ar farddoniaeth Kipling nag ar farddoniaeth Milton. Da yw eu gweled yn ymhoffi mewn cerddoriaeth, ond nid da yw eu gweled yn colli eu hamser i wrando ar ryw geiliogod dandi di-enaid yn canu caneuon gwantan ar lannau'r môr. Y mae yn iawn iddynt synio yn uchel am wŷr dyfeisgar fel Eddison a Marconi, ond nid yw yn iawn iddynt feddwl mwy am danynt hwy nag am y blaenoriaid a draethasant iddynt Air Duw. Y mae modd cyssegru barddoniaeth a cherddoriaeth, a'r rhan fwyaf o'r celfyddydau hefyd, i wasanaeth Duw; ond gwell i genedl fod heb farddoniaeth fel barddoniaeth Lamech; gwell iddi fod heb gerddoriaeth fel cerddoriaeth Jubal, a gwell iddi fod heb rai o'r celfyddydau a ddyfeisiodd Tubal-Cain. Ni wna pethau gorau gwareiddiad ddim lles i neb tra bônt ar wahân i grefydd bur. Fe ymddirywiodd ac fe ddarfu am lawer cenedl er gwaethaf eu gwareiddiad; ïe, o blegid eu gwareiddiad. Boddwyd yr hên fyd, nid am ei fod yn anwaraidd, eithr am ei fod yn waraidd: am ei fod wedi myned yn rhy waraidd i ymostwng i rodio gyd â Duw.

Ofer ini feddwl yr ymwellâ'r byd, yn unig trwy fyned rhagddo mewn gwareiddiad. Nid ŵyf fi yn meddwl y cynnyddodd dynion erióed yn gyflymmach mewn gwybodaeth a chelfyddyd nag a wnaethant rhwng y cwymp a'r diluw; ond y mae yn sicr na chynnyddasant erióed yn gyflymmach mewn drygioni chwaith. Yr oedd eu gwareiddiad, yn hytrach na'u hattal rhag pechu, yn rhoi iddynt gyfleusdra i bechu yn fwy rhyfygus. Yr oedd eu cynnydd mewn pechod yn cydgerdded â'u cynnydd mewn gwareiddiad. "A'r Arglwydd a welodd mai aml oedd

drygioni dŷn ar y ddaear, a bod holl fwriad meddylfryd ei gàlon yn unig yn ddrygionus bob amser."

Pa fath fyd oedd y byd a foddwyd yn nyfroedd y diluw? Byd tebyg iawn i'r byd y sydd yr awr hon. Byd y rhai anwir ydoedd—byd dynion a oedd yn camfarnu trwy alw'r drwg yn dda, ac yn camweithredu trwy wneuthur drwg. Byd aml ei ddrygioni ydoedd—sef byd yr oedd ei ddrygioni yn ymdorri allan yn barhaus mewn ffurfiau newyddion. Byd anllad ydoedd; y mae hynny yn ymddangos yngwaith dynion yn priodi amryw wragedd, ac yn dewis eu gwragedd yn hytrach o blegid eu tegwch nag o blegid eu rhinwedd; ac yn anad dim, byd llawn o drawsedd ydoedd, sef byd yn yr hwn yr oedd y trechaf yn treisio, a'r gwanaf yn gwaeddi; byd yr oedd ei bobl yn gweithredu yn ol eu nwydau dialgar, ac nid yn ol barn gyfiawn; byd yn yr hwn yr oedd dŷn yn lladd llangc, am fod hwnnw wedi ei gleisio, ac un genedl yn lladd cenedl arall am fod honno wedi ei harcholli—byd, felly, nad oedd cyfiawnder yn llettya chweithach yn cartrefu ynddo.

Ond wedi'r cwbl, pechod yn ei geingciau ac nid yn ei wreiddyn ydyw yr holl ddrygau a ènwyd. Pa beth tybed oedd gwreiddyn pob rhyw ddrwg yr oedd yr hên fyd yn euog o honno? Camsyniad am yr hyn sy fawr a gogoneddus; *h.y.*, a llefaru yn fwy pennodol, meddwl fod Cain, y dŷn cryf, yn fwy nag Abel, y dŷn gwan, a'i fod yn haeddu ei addoli yn fwy hyd yn oed na Duw Abel. Cain oedd eilun, os nad duw, y rhan fwyaf o'r cyn-ddiluwiaid. Ei enw ef, neu enw yn tarddu o'i enw ef, a roddai rhieni yn fwyaf cyffredin ar eu plant; ac am hynny y galwyd un o feibion Lamech yn Tubal-Cain; a phan aeth teulu Seth yn debyg i deulu Cain, fe alwyd un o bennaethiaid y teulu hwn yn Cainan. Cân o foliant i Cain am ei wrol

deb yn lladd ei frawd oedd y gân gyntaf a wnaethpwyd erioed ; ac unwaith yr elo dŷn yn destyn caneuon cenedl, y mae hwnnw wedi myned yn feistr ar feddwl a chàlon y genedl. Am Abel, ni bu yn wiw gan neb eilio cân iddo ef, na galw un o'i blant wrth ei enw ef. Dŷn gwan—dŷn y gorfu ei frawd arno oedd Abel ; ac y mae pobl y sy'n prisio cryfder yn fwy na chyfiawnder yn diystyru'r gwan a'r gorchfygedig. Cain, y dŷn cryf, ac nid Abel, y dŷn gwan, oedd gwron ei oes ; er hynny, nid efe yw gwron yr oesoedd. Abel, wedi'r cwbl, yw dŷn y dyfodol. Fel y mae'r byd yn myned rhagddo mewn deall a daioni y mae yn dyfod i weled fod y merthyr yn fwy na'r merthyrwr ; fod y neb a ddioddefodd gam yn gryfach na'r hwn a wnaeth gam ; a bod y dŷn da a fu farw yn ieuangc yn fwy hirhoedlog na'r dŷn drwg a fu farw yn hên. Bu Cain fyw gannoedd o flynyddoedd ar ol marw Abel ; ond y mae Abel heddyw yn fwy byw nag y bu Cain eriôed. Y mae efe wedi marw yn llefaru etto—yn llefaru oddi tan y pridd a'i gorchuddiodd. Aeth efe yn anfarwol trwy farw. Gorchfygodd efe'r byd trwy gael ei orchfygu gan ei frawd. Yr oedd Abel yn gyscod o Grist, gwron y gweiniaid, yr hwn a berffeithiwyd trwy ddioddefiadau, a'r hwn y perffeithiwyd ei nerth mewn gwendid. Yr oedd y byd yn tybied ddarfod iddo orchfygu Abel a Christ pan y rhoddwyd hwynt i farwolaeth, ond hwynt-hwy mewn gwirionedd ydoedd y gorchfygwyr. Fel Samson, lladdasant fwy wrth farw nag a wnaethant yn eu bywyd. Y mae eu hyspryd yn ymrodio etto ar y ddaear. Y mae'r addfwyn Oen yn raddol yn gorfod ar y llew rhuadwy. Yn fuan, fe oddiwedda'r march gwyn y march coch ; canys y mae wedi myned allan yn gorchfygu ac i orchfygu. Y mae yn wir fod y lladd a'r lladratta sydd yn y byd yn dangos fod yspryd Cain hefyd yn parhau yn fyw ; er hynny, y mae tŷ Cain yn myned yn wannach wannach, a thŷ Abel yn

myned yn gryfach gryfach. Y mae rhyfeloedd yn myned yn fwy adgas gan bob cenedl oddi eithr y Prydeiniaid, a'r Prwsiaid, a'r Japoniaid. Hyd yn oed ym Mrydain ryfelgar, y mae agos gymmaint o'r trigolion yn gofalu am y gwan ag sy'n addoli'r cryf; canys yspryd Abel ac nid yspryd Cain y sy'n cymmell dynion i godi yspyttai i gleifion, a noddfeydd i wallgofiaid, ac i ffurfio cymdeithasau i amddiffyn creaduriaid direswm rhag creulondeb. "Gwyn eu byd y rhai addfwyn," medd yr Iesu: gwyn eu byd y rhai sy'n debyg i Abel ac yn annhebyg i Cain, "canys hwy a etifeddant y ddaear." Y mae Abel er yn forau wedi nodi'r ddaear yn eiddo iddo'i hun â'i waed; ac y mae gwaed y taenelliad a ffrydiodd ar fryn Calfaria yn dywedyd ac yn gwneuthur pethau gwell na'r eiddo Abel. Symmudwyd ymaith dramgwydd y groes pan fu'r Iesu farw arni. Aeth marw yn ddiniwed yn fwy anrhydeddus na byw yn anghyfiawn, er pan y bu efe farw. Hyd yn oed yn Lloegr, y mae cynnifer o ferched yn dwyn llun y groes ar eu bron ag sydd o feibion yn dwyn cleddyf ar eu clun. Er fod mwy o lawer o ddeiliaid ymmerodraeth Brydain yn Fohammediaid nag sy'n Gristionogion, a bod ei llywodraeth o ran ei hysbryd yn hytrach yn Fohammedaidd nag yn Gristionogol, etto yr ydys yn dywedyd fod un o bob saith o drigolion Lloegr yn galw'i hun yn Gristion; a phwy a ŵyr nad oes mwy nag un o'r saith hynny yn Gristion mewn ysbryd a gwirionedd? Er mai teulu Abel neu Seth yw'r teulu lleiaf o lawer, etto y mae yn deulu sy'n cynnyddu yn y byd, os nad yn ein gwlad ni ein hunain.

Yr ŵyf wedi dyweyd mai trwy edmygu Cain—trwy fawrygu'r dŷn cryf, y dŷn traws a'r dŷn llwyddiannus, yr aeth y byd mor ddrwg cyn y diluw. Wrth brydyddu i'w ogoniant ef, wrth ganu â'r delyn ac â'r organ iddo ef, ac

wrth alw eu plant ar ei enw ef, dangosodd y cyn-ddiluwiaid eu bod yn rhoi mwy o bris ar yr anianol nag ar y meddyliol, y moesol a'r ysprydol. Y dynion tebyccaf i Cain oedd y dynion mwyaf cymmeradwy gan y bobl. "Cewri oedd ar y ddaear yn y dyddiau hynny"—cewri mewn nerth corfforol ac nid mewn nerth meddyliol; cewri mewn chwarau, mewn hela ac mewn ymladd; cewri mewn drygioni ac nid mewn daioni; ond och! "dyma'r cedyrn a fu wýr enwog gynt." Pa ryfedd ddarfod i Dduw foddi byd yr oedd ei *enwogion* yn ddynion mor wael?

Yr ŵyf yn dywedyd etto mai o fawrygu dynion a phethau annheilwng yr aeth y cyn-ddiluwiaid mor ddrygionus. Yr oeddynt hwy yn synio yn uwch am Cain nag am Abel, yn unig am ei fod yn gryfach ac yn fwy llwyddiannus nag Abel. Yr oeddynt yn prisio nerth a llwyddiant a balchder a dialgarwch yn fwy na gostyngeiddrwydd ac addfwynder a thosturi a maddeugarwch, am fod y pethau drwg hynny yn tynnu mwy o sylw na'r pethau da. Yr oeddynt felly yn camfucheddu am eu bod yn camfarnu. Eu *meddwl* drwg oedd yn escor ar eu gweithredoedd drwg. "A'r Arglwydd a welodd mai aml oedd drygioni dŷn ar y ddaear, a bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser." Hwyrach nad oedd pawb o'r rhai a foddwyd yn y diluw ddim yn ddrwg eu gweithredoedd. Efallai y buasem yn cyfrif llawer o honynt yn ddynion mor foesol a ni ein hunain; er hynny, yr oedd meddylfryd pawb o honynt yn ddrygionus, ac fe'u dinistriodd Duw hwynt am fod eu meddwl a'u bryd ar ddrygioni. Y mae Duw etto yn edrych yn fanylach ar yr hyn y mae dynion yn ei feddwl nag ar yr hyn y maent yn ei wneuthur; y mae efe yn barnu dynion yn hytrach wrth weithredoedd eu henaid nag wrth weithredoedd eu corff: wrth eu gweithredoedd oddi mewn nag wrth eu gweith-

redoedd oddi allan. Ieuengctyd, nid ŵyf yn gofyn ichwi pa beth yr ydych yn ei wneuthur; canys y mae hynny yn weddol hyspys i'ch cydnabod. Gofyn yr wyf yn hytrach pa beth yr ydych yn ei feddwl. Pa beth yr ydych yn myfyrio arno yn y dydd, ac yn breuddwydio am dano yn y nos? Ar ba bethau y mae'ch serch a'ch bryd? Pa fath ddynion yr ydych yn eu mawrygu—ai dynion fel Cain a Lamech, ynte dynion fel Abel a Seth?

Yn y testyn, y mae Seth yn cymmeryd lle Abel; ac er na bu efe yn ferthyr trwy farw, bu yn ferthyr trwy ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd. Os na bu ei ddiwedd fel yr eiddo Abel, bu ei fywyd fel yr eiddo yntau. Efe oedd tad yr eglwys foreuol; canys yn ei ddyddiau ef, wedi geni ei fab Enos, y dechreuwyd galw ar enw'r Arglwydd mewn modd cyhoeddus a chymdeithasol. Hwyrach, er hynny, mai'r cyfieithiad y sydd ar ymyl y ddalen yw'r cyfieithiad mwyaf cysson â rhediad y testyn—"Yna y dechreuasant alw'u hunain ar enw'r Arglwydd." Yn gyttunol â hyn fe ddarfu i Cainan ddiystyru ei enw ei hun, a galw ei fab yn Mahaleel—yn foliant Duw. Aeth El, y Duw galluog, yn enw mwy cymmeradwy ym mhlith teulu Seth na Chain, y gŵr galluog. Rhoisant ar ddeall trwy enwau mai Duw yn unig oedd fawr, ac mai creadur bach oedd y dŷn mwyaf yn ymyl y Creawdr; am hynny y galwodd Seth ei fab yn Enos—y dŷn egwan, y dŷn brau, neu'r dŷn marwol. Pa ystyr bynnag a rodder i'r ymadrodd olaf yn y testyn, y mae yn arwyddo fod Cain wedi peidio â bod yn wron yngolwg teulu Seth: mai Duw ac nid dŷn, pa mor alluog bynnag fyddai, oedd yn haeddu ei addoli. Pan gafodd Efa ei mab Cain, dywedyd a wnaeth hi, "Cefais ŵr—cefais wron, gan yr Arglwydd;" ond pan gafodd hi ei hail fab, yr oedd hi wedi myned yn gallach; am hynny, fe'i galwodd ef yn Abel—yn darth yn diflannu: a phan

gafodd Seth ei fab Enos dywedyd a wnaeth yntau, "Cefais ddŷn—nid cefais ŵr—cefais ddŷn marwol."

Aeth dŷn yn greadur bach darfodedig yn ei olwg pan gafodd olwg ar yr Arglwydd Dduw tragwyddol. Aeth enw Cain, ei frawd hynaf, yn ddirmygedig yn ei olwg, pan ddadguddiodd Duw ei enw iddo. Er cymmaint o gyffro a wnaeth Cain yn ei ddydd, marw a wnaeth efe o'r diwedd; aeth ei ogoniant heibio fel cwmmwl, a chwalwyd y ddinas a adeiladodd gan ddyfroedd y diluw; ond y mae Duw yn aros, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd, ac y mae ei ddinas ef yn aros. Dyscodd Seth i'w deulu ddywedyd, "Y Duw hwn fydd ein Duw ni byth ac yn dragywydd; y ddinas âg iddi sylfaeni disigl, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw—y ddinas hon fydd ein dinas ni;" "Anrhydedd a gogoniant tragwyddol, pethau anllygredig fydd ein pethau ni;" "Pobl yr Arglwydd fyddwn ni mwyach; ei enw mwy rhagorol ef a elwir arnom ni o hyn allan." "Yna y dechreuodd dynion alw eu hunain ar enw'r Arglwydd." Y pryd hwnnw, aeth yr Arglwydd yn fawr ar y ddaear; aeth yn fwy o gawr na'r cewri; aeth yn gadarnach na'r cedyrn.

Wrandawyr, pwy ydyw'ch gwron? Pwy yr ydych yn meddwl fwyaf am dano? Pwy yr ydych yn ei ganmol fwyaf mewn prydyddiaeth ac mewn cerddoriaeth? Pwy yr ydych yn ei fawrygu fwyaf yn nirgelfa'ch càlon? Ai'r Duw trugarog a graslawn a gyhoeddodd ei enw i Moses, ac a ddadguddiodd ei hun yNghrist yn Dduw addfwyn a gostyngedig o gàlon, ai ynte dŷn o fath Cain neu Lamech neu Nimrod? Gwybyddwch fod y Duw hwn yn Dduw eiddigus, na all oddef ichwi addoli neb llai nag ef, na gosod neb arall ger ei fron ef. Y mae pob dŷn yn rhy fach i dderbyn addoliad, ac yn rhy fawr i roddi addoliad i

un dŷn arall. Y mae fod dŷn wedi ei greu i ogoneddu Duw yn dangos ei fod yn fawr, er ei fod yn fach. "Byddwch gan hynny ddilynwyr Duw, fel plant anwyl." Dyma'r unig fôd y gellwch ei ddynwared heb ddarostwng eich hunain. Peth anweddus yw i frodyr ddynwared eu brawd, ond y mae yn weddus i blant bychain ddynwared eu tad. Wrth ddynwared dŷn, y maent yn myned yn ddynion eu hunain.

Yn awr, y mae'n Tad yr hwn sydd yn y nefoedd mor fawr fel y mae'r plant yn peidio â bod yn blant wrth ei ddynwared ef; yn y man, fe beidiant â bod yn ddynion hefyd; ânt yn dduwiau wrth addoli Duw. Duwiau ydych chwi, a meibion y Goruchaf ydych chwi oll. Swm y cwbl a glybuwyd yw hyn:—Edrychwn na byddo'n safon yn isel, na'n patrwm yn wael, na'n cynllun yn annheilwng. Na fydded yn fwy gennym ein crefft neu'n galwedigaeth na'n crefydd. Na fydded yn well gennym ragori yn y celfau a'r gwybodau na rhagori mewn gweithredoedd da. Na fydded yn fwy gwerthfawr gennym enw mawr nag enw da. Na roddwn fwy o fri ar allu nag ar ddaioni. Na fawrygwn ddynion drwg o gwbl, rhag ein myned yn ddrwg ein hunain. Na fawrygwn ddynion da chwaith ym mhob peth; am nad oes neb yn dda hollol ond un, sef Duw. Os mynnwn fod yn berffaith, mawrygwn ef hyd at ei addoli a'i garu â'n holl galon, ac â'n holl enaid, ac â'n holl feddwl. Wrth ei addoli ef, fe ymdebygwn iddo; fe ymberffeithiwn, gan gynnyddu byth bythoedd ar gynnydd Duw.

Credwn, ar bwys hanes y cyn-ddiluwiaid, mai crefydd ac nid gwareiddiad a geidw'r byd rhag boddi yn ei anwiredd ei hun. Gall plant y byd hwn fod yn feirdd, yn gerddorion, ac yn feistriaid yn yr holl gelfyddydau;

ond ni bydd neb yn *ddyn* perffaith heb fod yn ddyn Duw. O! na frysiai pawb yn yr oes hon i arddel Duw, fel y gallai rhyw hanesydd scrifenu am dani ar ol hyn:—"Yna y dechreuodd dynion alw eu hunain ar enw yr Arglwydd."

*Gorphenaf 10fed, 1903.*

II.

## DUW YN DARIAN A DUW YN WOBR.

"*Wedi y pethau hyn, y daeth Gair yr Arglwydd at Abram mewn gweledigaeth, gan ddywedyd, Nac ofna, Abram; myfi ydyw dy darian, dy wobr mawr iawn.*"—GENESIS xv. 1.

"WEDI'R pethau hyn," sef y pethau y sonir am danynt yn y ddwy bennod o'r blaen. Yn y pennodau hynny ni a welwn fod Abram a'i nai Lot wedi cyttuno i ymwahanu oddi wrth eu gilydd; ddarfod i Lot ddewis gwastadedd Sodom, ac i Abram symmud ei luest hyd at dderllwyn Mamre, yn agos i Hebron. Er fod Lot wedi dewis lle bras i drigo ynddo, nid oedd yn lle diogel; canys pan wrthryfelodd mân frenhinoedd gwastadedd yr Iorddonen yn erbyn brenin Elam, fe ddaeth hwnnw gyd â phedwar pennaeth cynnorthwyol i'w cospi ac i'w darostwng eilwaith dan ei awdurdod. Er mwyn digalonni a dinerthu'r gwrthryfelwyr, efe a lwyr yspeiliodd Sodom a Gomorra, ac a ddygodd ymaith lawer o'r bobl yn garcharorion. Pan glywodd Abram fod brenin Elam wedi dwyn ymaith Lot a'i gyfoeth, efe a benderfynodd, gyd â chynnorthwy dau bennaeth oedd mewn cyngrair âg ef, i ymlid ar ol byddin brenin Elam; ac er fod y fyddin honno yn fwy o lawer na'i fyddin ef, etto gan iddo ddyfod ar ei gwarthaf yn ddisymmwth yn nhywyllwch y nos, efe a'i gyrrodd ar ffo, ac a waredodd y carcharorion a'u hôll gyfoeth. Yr oedd brenin Sodom mor ddiolchgar i Abram am yr hyn a wnaeth efe, fel y cynnygiodd iddo yr hôll gyfoeth yn wobr, ond iddo ef gael y dynion; ond gan mai er mwyn

arbed Lot ac nid er mwyn dial brenin Sodom ar ei wrthwynebwr yr aethai Abram allan i ryfel, atteb a wnaeth efe fel hyn:—"Mi a dyngais i'r Arglwydd Dduw Goruchaf na chymmerwn gymmaint ag edau na charrai escid o'r hyn oll sydd eiddot ti; rhag dywedyd o honot, Myfi a gyfoethogais Abram." Chwi a welwch bellach mai o blegid i Abram wrthod cymmeryd gwobr gan frenin Sodom y dywedodd Duw wrtho yn y testyn, "Myfi yw dy wobr mawr iawn."

Ond pa ham y dywedodd efe wrtho hyn hefyd, "Nac ofna, Abram, myfi yw dy darian?" Am fod Abram yn ofni y dychwelai brenin Elam gyd â byddin arall a chryfach, i ddial arno am yr hyn a wnaethai efe.

"Wedi'r pethau hyn y daeth gair yr Arglwydd at Abram." Fe ddaeth y gair hwn at Abram fel y bydd adnod, neu wirionedd seiliedig ar adnod, yn dyfod i feddwl Cristion cyffredin. Y mae Duw bob amser yn llefaru *wrth* ddŷn trwy lefaru ynddo. Felly yn unig y gall un yspryd fynegi ei feddwl i yspryd arall. Yspryd yw Duw; ac am hynny nid â chlustiau o gnawd y gellir ei glywed ef. Ni welodd neb Dduw eriôed â llygaid naturiol, ac ni chlywodd neb Dduw eriôed â chlustiau naturiol. Prin yr oedd achos i scrifennwr ysprydoledig ddywedyd hynny wrthym; canys y mae'n rheswm ni'n hunain, a'n gwybodaeth am natur yspryd yn dywedyd yr un peth. Os yw'r Beibl yn rhoi ar ddeall ddarfod i Dduw ymddangos i Abram, a llefaru wrtho oddi allan, fel y mae'r naill ddŷn yn ymddangos i'r llall ac yn llefaru wrth y llall, yna nid Duw fel y mae efe a welodd Abram eithr Duw mewn dŷn gwirioneddol, neu ynte Dduw wedi ymrithio fel dŷn. Yr un ffunud, nid gwir lais Duw a glywodd efe, eithr llais dŷn, neu ryw greadur arall oedd dros y pryd yn cynnrych-

ioli Duw. Fe ddywedir yn yr Hen Destament ddarfod i ambell un weled Duw pan welodd efe angel neu gennad Duw; ac fe ddywedir fod Moses yn Dduw i Pharo, am ei fod yn llefaru wrtho yn enw Duw. Ac nid Moses ydyw'r unig ddŷn a fu yn Dduw i bechadur: fe fu ambell bregethwr, ambell flaenor, ambell athraw, ac ambell ymwelyddes, yn Dduw i ryw bechadur; am eu bod yn gennadau dros Dduw. Fe welodd llawer wyneb Duw yngwyneb Henry Rees, a bys Duw ym mys John Elias; ac nid peth cableddus oedd i lawer lefain wrth glywed lleferydd Daniel Rowland, "Lleferydd Duw ydyw, ac nid dŷn!" Y mae Duw o hyd yn ymddangos *i* ddŷn mewn dŷn arall, ac yn llefaru *wrth* ddŷn trwy ddŷn arall; ïe, y mae efe yn llefaru *mewn* dŷn, trwy ddylanwadu yn ddigyfrwng ar ei yspryd ef. Yn wir, y mae yn anawdd gennyf fi feddwl nad yw Duw yn llefaru etto wrthym ac ynom ni mor wirioneddol ag y llefarodd efe wrth ac yn Abram. Os nad ŷm ni yn ei glywed cystal, y mae hynny am ein bod ni yn fwy hwyrdrwm ein clustiau, ac nid am fod llais yr Arglwydd wedi gwanhau. Rhaid addef fod bywyd yr hên batriarchiaid yn gyfryw ag yr oedd yn haws iddynt hwy glywed Duw na nyni; canys bywyd tawel, hamddenol, a naturiol oedd eu bywyd hwy; a hynny ydyw un achos pa ham y cododd holl grefyddau mawr y byd yn y Dwyrain ac nid yn y Gorllewin. Braidd y gallem ddychmygu am un proffwyd na sylfaenydd crefydd yn codi mewn gwledydd fel Lloegr a'r Taleithiau Unedig, neu mewn dinas newydd fel Johannesburg. Ynddynt hwy, y mae'r trigolion yn byw bywyd rhy aflonydd, rhy anfarddonol, a rhy annaturiol i weled gweledigaethau, ac i dderbyn dadguddiadau. Y mae sŵn cras y bywyd cyffredin a elwir yn fywyd gwareiddiedig yn boddi seiniau isel, tyner, y byd ysprydol. Fe ellir profi nerthoedd y byd a ddaw, sef ei wynt a'i daranau, ynghanol

Llundain; ond yn Horeb, mynydd Duw, ynghanol yr anghyfanedd-dra tawel, y gellir clywed ei lef ddistaw fain. Er fod Abram yn berchen gweision ac anifeiliaid lawer—yn bennaeth llwyth, yn wir; ac er fod rhai digwyddiadau cyffrous yn ei hanes, etto bywyd myfyrgar a thawel ar y cyfan oedd ei fywyd ef, ac yr oedd y bywyd hwnnw yn ei alluogi i glywed Duw, pa bryd bynnag y byddai Duw yn llefaru wrtho. Ac yr oedd efe yn clywed Duw yn well na'r cyffredin, am ei fod fel Enoch yn rhodio gyd â Duw; ac felly, yn sefyll ynghyrraedd ei lais. Y mae'r Arglwydd yn rhy urddasol i groch-lefain ar ddynion; ei arfer yn hytrach yw siarad megis o dan ei lais; am hynny, os mynnant ei glywed ef, rhaid iddynt ymgadw yn agos atto. Y mae Duw yn llefaru pob rhyw beth yn yr un cywair; am hynny, os na fyn dynion ei glywed ef yn gorchymmyn, ni allant chwaith ei glywed yn addaw. Fe glywodd Abram Dduw yn dywedyd wrtho, "Myfi yw dy darian a'th wobr," am iddo wrandaw arno o'r blaen yn dywedyd wrtho:—"Dos allan o'th wlad, ac oddi wrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a ddangoswyf iti." Ac fe ymwadodd Abram nid yn unig trwy wrandaw ar lais yr Arglwydd; ond hefyd trwy wrandaw ar deimladau gorau ei natur ei hun; canys efe a anturiodd ei einioes er mwyn arbed nai a ymddygasai yn ddigon anfoneddigaidd tuag atto, ac efe a wrthododd wobr gyfreithlon gan frenin Sodom, rhag i hwnnw gael y clod yr oedd Duw yn ei haeddu. Gan iddo aberthu cymmaint er mwyn Duw ac er mwyn ei gymmydog, pa ryfedd oedd i'r Arglwydd gynnyg ei hunan iddo yn gyfnewid am bob colled, gan ddywedyd, "*Myfi*— myfi yw dy darian a'th wobr mawr iawn."

Pa beth y mae'r testyn yn ddyscu i ni? Y mae yn dyscu ini gymmaint a hyn o leiaf; sef fod ein hòll fywyd

ar y ddaear yn un frwydr fawr; ac fod yn rhaid ini wrth rywbeth i'n hamddiffyn tra yn y frwydr, ac wrth rywbeth a fo yn ad-daliad ini ar ol y frwydr; neu, mewn geiriau eraill, fod yn rhaid i ddŷn wrth Dduw—Duw yn darian a Duw yn wobr. Synio yn yscafn yr ydym am fywyd, os nad ŷm yn synio am dano fel brwydr neu ymdrechfa. Golwg ar ddŷn mewn ymdrechfa yn Eden a gawn yn nechrau y Beibl; a golwg ar ddŷn wedi gorchfygu ym Mharadwys Duw a gawn yn niwedd y Beibl. Ei waith yn ymdrechu ag ef ei hun ac â nerthoedd natur sydd yn dangos rhagoriaeth dŷn ar bob creadur arall. Tyfu yn unig y mae'r plannigyn, a dwyn allan yr hyn oedd o'i fewn y mae'r anifail; ond nid ymddadblygu yn ddirwystr fel y pethau hyn y mae dŷn; y mae efe yn dewis, ac y mae pob dewisiad yn cynnwys ymdrech. Wrth ddewis y da a gwrthod y drwg y mae efe yn ymberffeithio; ac wrth wrth ddewis y drwg a gwrthod y da y mae efe yn ymddirywio. Nid natur oddi allan iddo, na greddfau ei natur ef ei hun, sydd yn ffurfio'i gymmeriad nac yn penderfynu ei dynged ef, eithr gweithrediad ei ewyllys. Ped anifail yn unig a fuasai dyn, fe fuasai natur ei hun yn alluog i ofalu am dano; ond gan ei fod yn greadur rhesymol, sef yn greadur sydd yn dewis ac yn ymdrechu, y mae arno angen am ryw fendithion na ddichon natur mo'u rhoddi iddo. Ni all hi gynnyg iddo un darian i'w amddiffyn yn ei ymdrech, ac ni all hi chwaith blethu un goron i'w chynnyg yn wobr iddo am lwyddo yn ei ymdrech. Duw yn unig a all ddywedyd wrth ddŷn, "Myfi yw dy darian a'th wobr mawr iawn." Pan fyddot mewn helbul, mi a'th amddiffynaf; pan ballo iti wobrau daearol, fe fyddaf fi fy hun yn wobr iti.

Ni raid i'r bregeth wrth well pennau na'r ddau beth sydd yn y testyn ei hun:—Duw yn darian, a Duw yn

wobr. "Myfi yw dy darian." Y mae Duw yn darian i'w bobl, *yn y lle cyntaf*, i'w hamddiffyn rhag drygau oddi allan, pa un bynnag a fyddont ai drygau gocheladwy ai drygau anocheladwy. Chwithig o beth ar ryw olwg yw dywedyd fod Duw yn gallu amddiffyn neb rhag drygau anocheladwy; ac er hynny, nid oes dim sy wirach na'i fod yn gwneyd hynny, os credwn ei air ef ei hun. Nid oes un drwg *mwy* anocheladwy na marwolaeth; canys fe osodwyd i ddynion farw unwaith, ac y mae pawb yn marw yn fuan neu yn hwyr; ac etto i gyd fe ddywed Duw yn eglur, yn enwedig yn y Testament Newydd, ei fod ef yn amddiffyn ei bobl rhag marwolaeth, ac yn eu hamddiffyn mor effeithiol fel y dywed efe na byddant hwy ddim marw yn dragywydd. Y maent yn marw, ac nid ydynt yn marw chwaith; y maent yn orchfygedig, ac yn fuddugol hefyd. Y mae yn ymddangos i ni fod angau yn eu gorchfygu yn lân; ond fe daera Duw mai hwynt-hwy sydd yn gorchfygu angau, a'u bod yn wir yn fwy na choncwerwyr trwy yr hwn a'u carodd. Os ydynt yn marw mewn rhyw fodd, y maent fel Samson, wrth farw eu hunain, yn lladd eu gelyn hefyd.

Ond er mai gwir yw na bydd y saint byth farw yn llwyr, etto yr ydym beunydd yn marw hyd ryw fesur, am ein bod mewn perygl bob awr; ac hefyd am ein bod yn brwydro âg angau er y dydd y'n ganwyd. I ba beth yr ydym yn bwytta ac yn yfed, yn cyscu ac yn ymwisco, ond yn unig i adferu'r bywyd y mae natur yn barhaus yn ei ddwyn oddi arnom? Nid yw'n corff amgen na maes ymdrechfa rhwng yr elfen ddifaol sydd oddi allan—rhwng deddf bywyd a deddf marwolaeth. Yn ei ieuengctid, y mae dŷn, fel rheol, yn drech nag angau; tua chanol oed y mae dŷn ac angau yn gyfartal; ac mewn henaint y mae angau yn drech na dŷn. Cyn y byddwn yn drigain oed,

fe fydd dyrnodion angau yn dechrau gwneyd eu hôl arnom, fe fydd ein nerth yn pallu, ein haelodau yn colli eu hystwythder, y traed yn ymlusco, y croen yn gwywo, y llygaid yn pylu, y llais yn ymgaledu, a'r holl gorff yn ymgrebachu. Dyweder a fynner, colled fawr yw colli nerth a cholli tegwch ; a thrist o beth yw myned yn hên i bob dŷn a'r sydd heb Dduw yn y byd. Ofer yw annog y cyfryw un i ymwroli, ac i suddo i'r dyfnder tan ymladd, a'r faner yn chwyfio, fel y gwnaeth y Spaeniaid ym Machwy Manilla ; canys pan fo'r corff yn ymollwng, y mae'r yspryd hefyd yn ymollwng, ac y mae cnawd *a* chàlon yn pallu ar yr un pryd. Yn ddïau, nid oes un darian, oddi eithr Duw ei hun, a geidw ddŷn rhag tristwch henaint ac ofn marwolaeth. Da gan hynny a fyddai i'r plant gofio'u Creawdr yn nyddiau eu hieuengctid er mwyn iddo yntau eu cofio hwy yn y dyddiau blin. Fe ail efe droi'r dyddiau blin yn ddyddiau diddanwch, a chyscod angau yn forau ddydd. Er iddo'n cystuddio ni a'n perthynasau yn ein corff ac yn ein hyspryd ; ïe, er iddo gymmeryd ein ceraint ymaith a'n bygwth ni'n hunain â marwolaeth, etto efe a'n hamddiffyn rhag digalondid. Efe a ddywed wrth bob un o honom, "Myfi yw dy darian." Hyd yn oed pe na soniasai efe am darian, a dywedyd yn unig, "Myfi yw," fe fuasai hynny yn rhywbeth. Myfi yw ; yr ydwyf ; yr wyf yn bod ; yr wyf yn byw ; ac y mae fy mywyd i yn darian rhyngoch chwi â marwolaeth ac â diddymdra—"Byw wyf fi ;" ac am hynny, "byw fyddwch chwithau hefyd."

Y mae Duw yn darian, *yn y lle nesaf*, i'n hamddiffyn rhagom ein hunain. Gelyn pennaf a pheryclaf dŷn yw efe ei hunan, sef yr hunan sydd ynddo. Y mae'r gelyn hwn yn sefyll mor agos at ddŷn fel y mae efe yn gallu gwneyd mwy o wir niwed iddo nag un gelyn arall.

Yn awr y mae Duw yn gallu myned rhwng dŷn ac ef ei hun; ac yn ol yr ystyr hwn y mae efe yn darian iddo. Un o ddibenion mawr Crist yn dyfod i'r byd oedd dyscu dynion i feddwl am Dduw, ac i anghofio eu hunain yn y gwaith o garu a gwasanaethu Duw. Y mae llawer un, wrth ofalu am dano'i hun yn fwy nag am neb arall, yn tybied ei fod yn caru ei hun; ond dyfetha'i hun y mae hwnnw. Wrth fyw iddo'i hun, y mae dŷn yn marw, ac wrth farw iddo'i hun y mae dŷn yn byw. Fe fu yn wiw gan bob un o'r efengylwyr goffàu y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu:—"Pwy bynnag a fynno gadw ei fywyd a'i cyll, a phwy bynnag a gollo'i fywyd hwnnw a'i ceidw." Fe ddengys yr adnod hon y ffordd i farw, ac fe ddengys hon y ffordd i fyw.

Y dŷn sydd yn byw ynddo'i hun ac iddo'i hun, sydd yn mwynhau y bywyd lleiaf o bawb. Yn wir y mae ei fywyd ef mor fach fel mai marwolaeth y gelwir ef yn y Beibl. Y dŷn hunanol, hwnnw sydd yn hên langc, yn ystyr gwaethaf yr enw. Gyd âg ef ei hun y mae hwnnw yn byw ac yn bwytta, yn rhodio ac yn ymddiddan, yn cyscu ac yn deffro; ac O! y mae efe yn gydymmaith annifyr iddo'i hun. Y mae yn amlwg ar wedd ac ar ymddygiad hwn fod arno eisieu rhywun neu rywbeth. Pwy neu pa beth sydd arno'i eisiau? Eisiau Duw sydd arno i'w wahanu oddi wrth ei hunan. Eisiau tarian sydd arno i'w amddiffyn rhag ei saethau gwenwynig ef ei hun. Diolch i Dduw am ddwyn ar gof imi fod rhywrai yn y byd heb law fi; ac fod rhyw Un yn y byd a thrwy'r byd, ac uwchlaw'r byd, sydd yn anfeidrol fwy a gwell na myfi fy hun. Ac er mwyn ëangu fy nghàlon a'm tynnu allan o honof fy hun, y mae hwnnw yn dywedyd wrthyf:—"Câr Dduw yn fwy na thydi dy hun, a'th gymmydog hefyd fel ti dy hun."

YN AIL, *Duw yn wobr*. Y mae ar ddŷn eisiau Duw nid yn unig i'w amddiffyn rhag bob drwg, ond hefyd i'w lenwi â phob da, trwy lwyddo'i waith a chyflawni ei ddymuniadau. Nid yw bywyd daearol yn wobr iddo'i hun; ac ar ambell funud o'i oes y gall y dŷn dedwyddaf ddywedyd, "Digon i mi yw byw." Y mae'r aderyn wrth ganu yn y llwyn, a'r ych wrth gnoi ei gil ar ei orwedd yn y cyscod, mor ddedwydd ag y dichon iddynt hwy fod; ac fe fydd dŷn hefyd pan yn blentyn yn chwerthin mor galonnog, fel y gellid meddwl fod bywyd ynddo'i hun yn nefoedd iddo. Ond pan y paid dŷn â bod yn blentyn, y mae efe yn peidio â byw er mwyn byw. Yn lle mwynhau y presennol, y mae efe yn dechrau gobeithio yn y dyfodol.

Bellach, yn ei obeithion a'i ddisgwyliadau y mae efe yn ymgyssuro yn bennaf. Y mae efe yn blino ar heddyw, ac yn estyn ei law yn drachwantus at y fory a thrennydd. Y mae hyn yn arwydd mai pethau tragwyddoldeb ac nid pethau amser a ddichon ddigoni dŷn. Yn raddol y diddyfnwyd Abram oddi wrth yr amserol at y tragwyddol. Fe aeth allan ar y cyntaf gan ddisgwyl gwlad ddaearol yn etifeddiaeth, ond efe a fu farw heb gaffael honno. Er hynny, yr oedd Duw o hyd yn ei wobrwyo, gan wneyd ei fywyd yn dangnefeddus os nad yn orfoleddus; a phan oedd ei obaith am etifeddu gwlad Canaan yn pallu, fe'i dyscwyd i chwennychu gwlad well. Efe a *gafodd* wlad, ond yr oedd honno tu hwnt i afon angau, ac nid tu hwnt i'r Iorddonen. Nid gwlad yn llifeirio o laeth a mêl y ddaear ydoedd hi, eithr gwlad nefol. Ffrwythau ei hirymaros ef ei hun oedd ei chyfoeth hi; dyfnderau ei ostyngeiddrwydd ef ei hun oedd ei dyffrynnoedd hi; a dyrchafiadau ei ffydd ef ei hun oedd ei mynyddoedd hi. Yr oedd ei *obaith* ef am wlad well yn rhywbeth mwy sylweddol na *meddiant* ar y ddaear.

Ond nid âg addewidion yn unig y mae Duw yn gwobrwyo dŷn: y mae efe yn ei wobrwyo yn fwy uniongyrchol, trwy roddi iddo wobr ufudd-dod, a thrwy roddi iddo ran ynddo ef ei hun. Y mae yn hyspys i bawb fod Duw wedi cyssylltu gwobr â phob gweithred o ufudd-dod a fyddo yn tarddu o ffydd a chariad. Gwneuthurwr y cyfryw weithred, medd Iago, a fydd dedwydd yn ei weithred. Y mae dŷn wrth ufuddhau, nid yn unig yn rhyngu bodd Duw, ond hefyd yn rhyngu bodd ei gydwybod ei hun, ac felly yn mwynhau boddlonrwydd ag sydd ynddo'i hun yn wobr mawr iawn. Yn wir, nid oes un fendith oddi allan i ddŷn yn haeddu ei chystadlu â'r fendith hon o'i fewn. Y teimlad hwn o foddhâd ynddo ef ei hun sydd yn cymmell ac yn galluogi dŷn i wneyd ei ddyledswydd er gwaethaf anniolchgarwch a dirmyg y byd. Y mae gair da ein cydnabod yn rhywbeth; y mae tystiolaeth dynion yn werthfawr; ond, ebe'r Apostolion, "Ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod." Nid gwaeth mo'r llawer pwy a'n condemnia os bydd ein cydwybod yn ein canmol, ac nid gwaeth pwy a'n canmol os bydd ein cydwybod yn ein condemnio. Llais Duw yw llais y gydwybod, a gwobr Duw yw gwobr y gydwybod.

Ond y mae Duw yn gwobrwyo dŷn yn bennaf oll trwy roddi ei hunan iddo. "Myfi yw dy wobr mawr iawn." Y mae'r wobr yn fawr, am fod y gwobrwywr yn fawr; ac am mai'r gwobrwywr ei hun ydyw'r wobr. Y mae y wobr yn fawr *iawn*—yn anfeidrol; ac er hynny, nid yw hi ddim gormod. Pe buasai hi yn llai, hi a fuasai yn rhy fach; canys er mai creaduriaid meidrol ydym ni, y mae yn rhaid ini wrth Dduw anfeidrol. Y mae dyfnder ein tlodi ni yn galw ar ddyfnder golud yr Hollgyfoethog. Ni allwn ni byth dreulio'i dda ef; ond yn ddïau, ei dreulio a wnaem rywbryd, pe na buasai'r da hwnnw yn anfeidrol fel Duw

ei hun. Y mae diwedd ar bob peth meidrol; ac fe fyddai gwybod fod y wobr yn llai na'r gwobrwywr yn ddigon i beri pall ar ddedwyddwch y saint; ïe, hwy a beidient â bod yn berffaith ddedwydd pe credent fod y wobr yn rhywbeth amgen na'r gwobrwywr ei hun; canys pa beth, ar wahân i Dduw, a ddichon ddigoni enaid anfarwol? Ai'r nef? Pa beth ond Duw sydd yn gwneyd y nef yn nef; a pha beth ydyw'r nef amgen na'r gyssegrfa lle y mae Duw yn ymddangos ac yn ymgyfrannu i'w bobl? "Pwy," medd y Salmydd, "sy gennyf fi yn y nefoedd ond tydi?" Tŷ gwag, dilewyrch, anghynnes, a fyddai'r nef heb gymdeithas y perchennog. Pe caet fyned i nef na chaet weled Duw ynddi na derbyn o'i gyflawnder ef, ni wnae'r nef honno ddim ond codi hiraeth arnat am y ddaear; a chwynfan a wnaet fel Absalom:—"I ba beth y deuthum o Gesur? gwell fuasai i mi fy mod yno etto na bod yn Nghaersalem heb weled wyneb y brenin." Os yw yn hyfryd gennyt fyw ar Dduw, yna ti elli wneyd dy gartref yn y nef; ond os yw yn well gennyt geisio byw arnat dy hun, yna ti a deimli yn fwy cartrefol yn uffern. Byw *arno'i* hun yn y byd tragwyddol a fydd y gosp ar ddŷn am fyw *iddo'i* hun yn y byd hwn; ac ni allaf fi synio am gosp fwy ofnadwy na hon. Yn ddiau, y mae byw bywyd mor dlawd yn farwolaeth dragwyddol.

Gyfeillion, a ydyw yn fwy gennym gael Duw ei hun yn rhan ini na dim arall yn y nef nac ar y ddaear? A fydd llawenydd a diolchgarwch yn llenwi'n calon wrth glywed Duw yn dywedyd wrthym:—"Myfi yw dy wobr mawr iawn?" A ydyw yn well gennym ennill Duw nag ennill un wobr arall? Os felly, gwybyddwn y rhaid ini golli—y rhaid ini aberthu rhywbeth er mwyn ennill y wobr ddwyfol. Pan wrthododd Abram wobr gan frenin Sodom y dywedodd Duw y byddai efe ei hun yn wobr

iddo. Rhaid i ninnau yr un ffunud wrthod golud y byd a'i ogoniant, os y diafol a'u cynnygia ini. Rhaid ini ymwrthod â phob mantais fydol a fyddo yn *anfantais* i'n crefydd. Rhaid ini wrth reswm ymadael â phob anghyfiawnder; ïe, rhaid ini ymadael â'n cyfiawnder ein hun, a chyfrif pob peth yn golled fel yr ynnillom Dduw. Rhaid ini ymwaghau o bob peth a berthyn i ni'n hunain, fel y'n cyflawner â holl gyflawnder Duw. "Gwobr mawr iawn" yw Duw, a phechadur gwaglaw, heb fod ganddo ddim ynghil ei ddwrn, a all ymaflyd ynddo ef. A ddywedais i fod yn rhaid i ddŷn aberthu er mwyn derbyn? Os sonir am aberth, Duw sy'n aberthu:—"Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll;" ac efe a roes ei Fab fel y gallai efe gynnyg ei hunan ini yn ei Fab. Ond wrth aberthu nid yw Duw yn colledu dim arno'i hun, am ei fod mor fawr; ac nid yw dŷn chwaith wrth aberthu yn colledu dim arno'i hun, am ei fod mor fach. Y mae'r naill fel y llall yn elwa wrth aberthu; yn cael wrth roddi; ac mewn rhyw ystyr, y mae'r lleiaf o'r ddau yn cael mwy na'r mwyaf. Beth yw trefn yr iachawdwriaeth? Trefn i wneyd y bychan yn eiddo i'r mawr, a'r mawr yn eiddo i'r bychan. Beth sydd yn cymmeryd lle pan y mae dŷn yn credu a Duw yn cadw? Y bychan sydd yn rhoddi ei hunan i'r mawr, a'r mawr yn rhoddi ei hunan i'r bychan. Y Myfi—y Bôd gwirioneddol a thragwyddol sydd yn ymbriodi âg un o'r pethau nid ydynt, ac yn ei wneyd yntau, druan! yn rhywbeth ac yn rhywun. Pa gynnyscaeth a roddir i'r lleiaf o'r ddau? Meddiant llawn ar y mwyaf—"Myfi yw dy wobr mawr iawn." Y mae Duw yn rhoddi amryw anrhegion i ddŷn, ond un wobr sy ganddo; er hynny, y mae'r *un* honno yn fawr iawn—mor fawr fel nad all hi ddim bod yn fwy—"Myfi yw dy wobr." Mi a roddaf iti ymborth a dillad, ond myfi yw dy wobr; mi a roddaf iti

iechyd, ond myfi yw dy wobr; hwyrach y rhoddaf iti hir einioes hefyd, ond myfi fy hun yw dy wobr. Pa nifer o honom sy bellach yn barod i ddywedyd :—"Y Duw hwn fydd ein Duw ni byth ac yn dragywydd?"

Gristion, y mae Duw yn dywedyd wrthyt ti fel wrth Abram :—"Nac ofna"—nac ofna fellt Sinai na saethau angau na phiccellau tanllyd y fall, "myfi yw dy darian." Nac ofna golli dy eiddo, neu golli dy iechyd neu golli dy berthynasau—"Myfi yw dy wobr mawr iawn."

## III.

## PA FODD I FOD YN IEUANGC?

"*Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; a chwbl sydd ynof, ei enw sanctaidd ef. Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; ac nac anghofia ei holl ddoniau ef: yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau; yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd: yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddistryw: yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi: yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni; fel yr adnewyddir dy ieuengctid fel yr eryr.*"—Salm ciii. 1—5.

Yr ydys yn gweled fod y gair "fel" yn nechrau yr ymadrodd olaf mewn llythrennau Italig, yr hyn sy'n arwyddo mai gair a ddygwyd i mewn ydyw, er mwyn cyflawni ac egluro'r ystyr. Y mae fod y ferf sydd ar ei ol yn y Modd Mynegol ac nid yn y Modd Ammodol, yn dangos mai dynodi canlyniad ac nid diben yw swydd y "fel." Y mae'r ymadrodd yn fwy aneglur nag y dylasai fod, o achos fod y cyfieithwyr wedi arferyd berf yn yr amser dyfodol i ddynodi amser presennol. Arferyd yr un ffurf ar y ferf i ddynodi dau amser gwahanol ydyw un o'r tri bai sydd ar Gymraeg y Beibl; ac yn yr hyn sy wael, ysywaeth, ac nid yn yr hyn sy wych, y mae y rhan fwyaf o scrifenwyr a siaradwyr yr oes hon yn dilyn Cymraeg y Beibl. Heb law hynny, berf ragenwol *(reflexive verb)*, ac nid berf ammhersonol, na berf oddefol, a fuasai orau yn y fan hon. Hwn, gan hynny, a fuasai'r cyfieithiad manylaf ac egluraf o'r ymadrodd:—"Fel y mae dy ieuengctid yn ymadnewyddu fel yr eryr."

Sylwer hefyd fod y testyn nid yn unig yn dibennu adnod ond hefyd yn dibennu paragraff, a bod y gair "fel" gan hynny yn cyssylltu'r testyn nid yn unig â'r ymadrodd nesaf atto, ond hefyd â phob ymadrodd arall y mae "yr hwn" yn ei ddechrau—"Yr hwn sy'n maddau dy holl anwireddau; yr hwn sy'n iachau dy holl lescedd; yr hwn sy'n gwaredu dy fywyd o ddistryw; yr hwn sy'n dy goroni â thrugaredd ac â thosturi; yr hwn sy'n diwallu dy enau â daioni." Yn awr, pa beth ydyw effaith yr holl bethau hyn, sef y maddau a'r iachau a'r gwaredu a'r gwisco a'r porthi yma ar enaid y duwiol? Hyn: y mae ei ieuengctid yn ymadnewyddu fel yr eryr.

"Fel yr eryr."—Pa fodd y mae'r eryr yn adnewyddu ei ieuengctid? Trwy fwrw ei hen blu tua diwedd yr haf, a cael plu newydd yn eu lle erbyn y gaeaf. Yn hyn o beth nid yw'r eryr yn wahanol i adar eraill, ond fe ddewisodd y Salmydd gyffelybu ymadnewyddiad y dŷn duwiol i'r eryr, am mai'r eryr ydyw brenin yr adar, a bod ei ymadnewyddiad ef gan hynny yn llwyrach ac yn hynottach nag ymadnewyddiad un aderyn arall. "Attat ti, O Arglwydd, y dyrchafaf fy enaid," ebe'r Salmydd—attat ti, uwch law y cymmylau, a thu hwnt i'r sêr; at Dduw y sy'n trigo yn y nwyfre, yn yr ether denau, ac yn y goleuni glân gloew. Nid oedd ryfedd ei fod yn gallu ymgodi mor uchel ar ol cael plu newydd; canys yr oedd ei adenydd cyn hired a chyn gryfed ag adenydd eryr.

Pa mor sychlyd bynnag fo fy mhregeth, y mae gennyf bwngc dyddorol iawn:—Pa fodd i fagu plu newydd ar ol colli'r hên? Neu, a llefaru yn llai ffugrol, Pa fodd i fod yn ieuangc?—y ffordd i'r ieuangc ymgadw yn ieuangc, a'r ffordd i'r hên fyned yn ieuangc yn ei ol.

Rhag ichwi feddwl mai rhyw grachfeddyg ydwyf, yn addaw mwy nag a gyflawnaf, yr ŵyf yn brysio i ddywedyd

na wn i am un ffordd i attal dŷn deugain oed rhag myned yn hanner cant, os bydd efe byw ddeng mlynedd; na wn i am un feddyginiaeth sicr rhag penllwydni a phenfoelni; er y gallaf ddywedyd rhywbeth a bair i'r gwallt fritho a theneuo yn arafach ar bennau rhai. Ni wn i am un cyngor meddygol a geidw'ch cnawd a'ch escyrn yn iraidd hyd oni bo'ch yn bedwar ugain oed; eithr gwn am rywbeth a geidw'ch cnawd rhag curio yn rhy fuan gan ofalon y byd hwn, ac a geidw'ch escyrn rhag pydru gan genfigen a thrachwant. Ni wn i am ddim a'ch gweryd rhag marw rywbryd, eithr gwn am rywbeth a'ch gweryd rhag marw cyn eich amser, a rhag marw byth o farwolaeth ysprydol. Chwychwi, y mae'ch corff eisys wedi ymlygru gan boen a blinder o lïaws blynyddoadd, y mae yn dda gennyf ddywedyd wrthych y gwn am un ddarpariaeth a wna'ch *enaid* chwi yn ireiddiach nag enaid plentyn:—"Er llygru y dŷn oddi allan, er hynny y dŷn oddi mewn a adnewyddir o ddydd i ddydd." Y ffordd i adnewyddu ieuengctid y dŷn oddi mewn yw fy mhwngc i. Er hynny, cofier fod y dŷn oddi mewn yn gosod ei wedd ei hun hyd ryw fesur ar y dŷn oddi allan. Y mae yspryd ieuengaidd yn tueddu at wneuthur y corff yn ieuengaidd; ac y mae'r dŷn sy'n ymdeimlo yn ieuangc yn edrych yn ieuangc; o'r hyn lleiaf, y mae yn edrych yn fwy ieuangc o lawer nag y buasai yn edrych pe heb ymdeimlo felly.

Sôn am ei enaid y mae'r Salmydd yn nechrau'r Salm; ac yn y testyn y mae yn enwi'r pum peth y mae Duw yn eu gwneuthur er adnewyddu ieuengctid yr enaid hwnnw.

Y peth blaenaf y mae yn ei wneyd ydyw *maddau yr holl anwireddau*—"Yr hwn sy'n maddeu dy holl anwireddau." Y mae'r ymdeimlad fod gan ddŷn liaws o bechodau heb eu maddau, a lliaws o ddyledion heb eu

talu, yn orthrwm ar ei yspryd ac ar ei gorff. Y mae y rhein yn cyffroi ei feddyliau, yn dwyn ymaith ei gwsc, yn trymhau ei wynebpryd, yn crychu ei dalcen, ac yn crymmu ei war. Y maent yn rhoi lliw tywyll ar bob blodeuyn disclair, ac yn rhoi blas chwerw ar bob ymborth melus. Y mae'r teimlad o euogrwydd yn peri i'r pechadur dristàu wrth edrych yn ol, ac yn peri iddo bryderu wrth edrych ym mlaen. Ond y mae Duw wrth ryddhau dŷn oddi wrth ei bechodau, yn ei ryddhau oddi wrth dristwch ac ofn. Y mae maddeuant yn llawenhau ei gàlon, yn goleuo'i lygaid, ac yn ei alluogi i godi ei ben, ac i edrych yn ddigyffro ym mysw llygaid Duw a dŷn ac Angau. Y mae'r blinderog a'r llwythog yn colli ei faich wrth ddringo i ben Calfaria. Euogrwydd fel mynyddau'r byd, dry'n ganu wrth y groes. Y mae yn wir y bydd yn ddrwg ganddo byth ddarfod iddo erióed bechu yn erbyn Duw. Bydd yn annichon iddo ddiolch i Dduw am faddau iddo heb dristàu yn dduwiol am ddarfod iddo yntau roi cymmaint o waith maddau iddo. Ond os na all efe ei hun anghofio ei hên bechodau, y mae yn rhywbeth iddo wybcd y gall Duw eu hanghofio yn llwyr. Oni chlywodd efe Dduw yn dywedyd wrtho, "Myfi yw yr hwn a ddilea dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau?" Ac nid oes gan ddynion chwaith hawl i edliw nac i gofio beiau y bo Duw wedi eu anghofio. Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw'r hwn sy'n cyfiawnhau. Pwy yw yr hwn sy'n condemnio? Crist yw'r hwn a fu farw? Y mae cyhuddo yr hwn a gyfiawnhawyd yn sarhad ar y cyfiawnhawr. Y mae cofio hên gamweddau yr hwn a fu farw i bechod yn ddiystyrwch ar yr hwn a fu farw dros bechod. Pwy a faidd ddywedyd dim yn erbyn y dŷn y maddeuodd Duw iddo? Ai tydi sydd heb gael maddeuant? Ai tydi sydd wedi cael maddeuant dy hun? Yn sicr, nid gweddus na chysson i'r naill na'r llall o honoch

chwi fod mor hyf. Yr oedd Balaam yn fwy gwylaidd nag ydych chwi. "Pa fodd," meddai hwnnw, "y rhegaf yr hwn ni regodd Duw, ac y ffieiddiaf yr hwn ni ffieiddiodd yr Arglwydd?" "Ni wêl efe anwiredd yn Iago, ac ni wêl drawsedd yn Israel." Pwy ydych chwi i graffu ar greithiau y mae Duw yn cau ei lygaid arnynt? Yn ddïau, y mae'r Creawdr yn fwy o wrbonheddig na'i greaduriaid.

Y mae yn wir y bydd hir amser yn peri i lawer *dyn* anghofio beiau ei gymmydog; a phan y bo efe wedi anghofio beiau y mae yn gallu eu maddau; ond nid oes dim diolch i ddŷn am faddau beiau y mae amser yn eu gwthio allan o'i gof. Ond nid am ei fod yn anghofio beiau y mae Duw yn maddeu. Yn hytrach, y mae efe yn medru eu anghofio am ei fod yn medru eu cwbl faddau. Nid anghofio nes maddau y mae efe, eithr maddau nes anghofio, ac nid yw anghofio beiau yn waith da mewn Duw na dŷn, oni bydd yn waith yr ewyllys. Y mae Duw wrth faddau pechodau yn eu dileu oddi ger ei fron, ac yn eu taflu o'r tu ol i'w gefn; ac am ei fod ef yn eu bwrw hwynt allan o'i olwg y mae yn medru eu bwrw allan o'i gof.

Hyd yn oed pe bâi pechadur heb gael maddeuant gan ei gyd-ddynion, ac er iddo yntau fethu â maddau iddo'i hun, etto, os bydd Duw wedi maddau iddo, gall fod cyn llawened ei gàlon a'r rhai cyfiawnaf. Ac y mae'r maddeuant y sy'n ei wneuthur ef yn llawen yn ei wneuthur yn ieuangc hefyd. Oni wnaed ef yn ddŷn newydd pan y'i rhyddhawyd oddi wrth ei hên bechodau, ac onid yw pob dŷn newydd yn ddŷn ieuangc hefyd? Pan ddychwelodd y mab afradlon yn gloff, yn wargam, yn newynllyd ac yn garpiog o'r wlad bell, dïau y gallesid tybied wrth yr olwg arno mai efe oedd y mab hynaf; ond wedi darfod i'w dad

gusanu ymaith ei bechod, a gorchymmyn ei wisco â'r wisc orau, a'i borthi â'r llô pascedig, aeth yr hên gleiriach yn fab ieuangc yn ei ol—adnewyddwyd ei ieuengctid fel yr eryr.

Y peth nesaf y mae Duw yn ei wneuthur i adnewyddu ieuengctid dŷn ydyw *adferu ei iechyd*:—"Yr hwn sy'n iachau dy holl lescedd;" yn fanylach, yr hwn sy'n iachau dy holl glefydau. Nid ydyw llescedd yn afiechyd—effaith afiechyd yw efe; ac y mae Duw yn symmud ymaith bob llescedd trwy iachau dŷn oddi wrth bob afiechyd.

Mewn gwirionedd, un clefyd sydd ar ddŷn; ond gan fod hwnnw yn effeithio yn wahanol ar wahanol rannau yr enaid, fe ellir golygu holl ffurfiau y clefyd yn glefydau. Y mae'r clefyd y sy'n gyffredin i'r ddynoliaeth yn ymddangos yn glefyd y gàlon ar rai, ac yn glefyd yr ymmennydd ar eraill. Y mae afiechyd yr hiliogaeth yn ymdorri allan yn bylni ar lygaid hwn yma, yn ddiffrwythdra ar ddwylaw hwn yna, ac yn gloffni ar draed hwn accw; ond er fod yr afiechyd yn ymddangos yn fwy amlwg ar ryw ran neillduol o'r enaid nag ar rannau eraill o honno, etto, y mae'r Meddyg nefol yn tystiolaethu fod afiechyd pechod wedi niweidio pob rhan o ddŷn. "Y pen oll sy glwyfus a'r holl gàlon yn llesc; o wadn y troed hyd y pen, nid oes dim iach a dianaf ynddo, ond archollion a chleisiau a gwelïau crawnllyd." Y mae cyflwr y claf yn anobeithiol; canys y mae ynddo, a llefaru yn iaith y meddygon, gydgascliad o glefydau, fel na fedr un meddyg daearol liniaru un clefyd heb lidio clefyd arall. Ac y mae pob clefyd sydd arno yn glefyd ffiaidd iawn—yn glefyd y sy'n hagru, yn crebachu, ac felly yn heneiddio dŷn. Pa beth sy'n heneiddio dŷn yn fwy nag afiechyd tost a maith? Er hynny, gellid adnewyddu ieuengctid y claf a'r clwyfus, pe gellid ei iachau.

Ac y mae un a fedr ei gwbl iachau:—"Yr hwn sy'n iachau dy holl glefydau."

Ffordd nesaf Duw i adnewyddu ieuengctid dyn ydyw *trwy godi ei yspryd*:—"Yr hwn sy'n gwaredu dy fywyd o ddistryw;" yn gywirach, yr hwn sy'n gwaredu dy enaid o'r pwll. Y mae rhai yn barnu mai gair cyffredinol yw pwll am angau a'r bedd ac annwn, sef Hades; ond y mae yn ddiogelach rhoi i'r gair ystyr mwy cyffredinol fyth, trwy wneyd pwll yn gyfystyr â phob rhyw iselder y bo dŷn ynddo:—"Yr hwn sy'n codi dy enaid o'r pwll." Yr hwn sy'n dy waredu nid yn unig oddi wrth gòlyn angau a buddugoliaeth y bedd, ond hefyd oddi wrth ofn angau ac oddi wrth ddychryn y bedd. Yr hwn sy'n gwaredu dy enaid oddi wrth bob digalondid neu iselder yspryd. Gwneuthur dŷn yn llawen ac nid yn drist y mae iachawdwriaeth Duw, ac wrth ei wneyd yn llawen, y mae hi yn ei wneuthur yn ieuengaidd ei wedd. Y mae Duw yn ewyllysio gwneyd dŷn yn debyg iddo'i hun ym mhob peth—yn santaidd fel efe ei hun, ac yn ddedwydd fel efe ei hun; a thrwy ei wneyd yn santaidd y *mae* efe yn ei wneyd yn ddedwydd. Trwy wneyd y nef yn lle santaidd y gall efe wneyd honno yn lle dedwydd. Cydymaith i bechod, ac nid i santeiddrwydd yw prudd-der. Nid yw Duw byth yn brudd-glwyfus, am ei fod yn ddigyfnewid yn ei santeiddrwydd. Nid oes amserau arno ef. Ni bydd efe byth yn discyn i'r pwll, oddi eithr i waredu rhywun arall o'r pwll. Preswylio'r goruchelder y mae efe; y mae bob amser ar ei uchelfannau; y mae yn Dduw bendigedig—yn Dduw gwynfydedig yn oes oesoedd; ac y mae yn wyn ei fyd am ei fod yn wyn ei natur. Pwy bynnag a fo debyccaf iddo ef o ran ei natur, hwnnw a fydd agosaf iddo o ran ei yspryd. Efe, sef y duwiòl, a breswylia'r uchelderau; cestyll y creigiau a fydd ei

amddiffynfa ef. Ei lygaid a welant y tir pell. Pa beth a rwystra'i lygaid i weled y tir pell, ac yntau â'i draed ar ben Pisga? Pa sawl un o honom a all ddywedyd fel y Salmydd, "*Cyfododd* fi o'r pridd tomlyd, a gosododd fy nhraed ar graig, a rhoddodd yn fy ngenau ganiad newydd o foliant i'n Duw ni?" A wyt ti etto yn y pwll? Os ydwyt, gweddïa, gwaedda, "O'r dyfnder y llefais arnat, O Arglwydd." Er ised wyt ti, ac er uched yw Duw, fe glyw efe dy lef. Yn ebrwydd, fe'th gyfyd o'r dyfnder i'r uchelder; yna, yn lle gwaeddi, cei achos i ganu, ac i ganu yn y cywair llon—ar dôn "Ymdaith Gwŷr Harlech," ac nid ar dôn "Morfa Rhuddlan."

Y mae pobl orau Duw i gyd yn llawen; ac am eu bod hwy yn llawen y maent mor weithgar. Ac fel y mae eu hyspryd llawen yn eu cymmell i weithgarwch, felly y mae eu gweithgarwch yn eu cadw yn llawen. Wrth ymgolli yngwaith yr Arglwydd, y maent yn anghofio eu helbulon a'u gofidiau eu hunain. Nid ynt hwy yn colli dim amser i ymofidio, ac i dosturio wrthynt eu hunain. Er eu bod yn dioddef cymmaint ag eraill, nid ynt yn drist. Nid yw Duw yn addaw eu cadw rhag gorthrymder, ond y mae yn addaw eu diddanu yn eu holl orthrymder. Y mae yn eu galluogi i orfoleddu *mewn* gorthrymderau—i ymlawenhau mewn amgylchiadau sy'n tristàu pobl eraill. Ni bu neb mewn mwy o beryglon nac mewn mwy o gystuddiau na'r apostol Paul; er hynny, yr oedd efe bob amser yn llawen; a hynny am ei fod yn byw i'r hwn a fu farw drosto, ac nid iddo'i hun. A dŷn llawen oedd pob Cristion, bach a mawr, pan oedd yr eglwys yngwres ei chariad cyntaf. Am fod y Cristionogion cyntefig mor llawen, yr oeddynt yn gweithio mor egnïol ac mor ddiflino. Gweithio yr oeddynt hwy yn yr awyr ac o dan yr heulwen. Pe buasent yn gweithio i lawr yn y pwll, buasai wyth awr yn

y dydd yn amser rhy hir ganddynt. Pobl galonnog, pobl ieuengaidd eu hyspryd, pobl y mae awyr y nefoedd yn chwyddo'u hyscyfaint, a haul yr haf yn cochi eu gruddiau, y rheini y mae ar Dduw eu heisieu i wneyd ei waith. Er mwyn adnewyddu eu hieuengctid y mae efe yn gwaredu eu henaid o'r pwll. Yspryd cystuddiedig, pwy a'i cyfyd? Nid oes neb a'i cyfyd ond Duw. "Fy enaid, bendithia'r Arglwydd, yr hwn sy'n gwaredu dy enaid o'r pwll."

Y peth nesaf a wna Duw i adnewyddu ieuengctid dŷn ydyw *ei wisco â dillad newyddion*:—"Yr hwn sy'n dy goroni â thrugaredd ac â thosturi." Yn ol y Saesneg, "Yr hwn sy'n dy goroni â thosturi ac â thyner drugareddau." Er mai hên drugareddau yw trugareddau Duw, etto, gan eu bod yn dyner drugareddau, y maent yn ieuengaidd eu gwedd; ac y mae pob un a wiscir â dillad ieuengaidd yn edrych yn ieuangc. Yn wir, y mae dillad gwychion, anrhydeddus, yn peri i ddŷn nid yn unig *edrych* yn ieuengach, ond hefyd ymdeimlo yn ieuengach nag ydoedd yn ei hên ddillad cyffredin. Y mae llawer brenin canol oed yn edrych cyn ieuenged a'i fab pan y'i gwiscer gyntaf â dillad brenhinol; ac yn enwedig pan ddoder coron ar ei ben. Y mae'r Frenhines Alexandra yn fedrus iawn bob amser i ymddangos yn ieuangc, trwy ymwisco yn ieuangaidd; ond fe ddywedwyd nad edrychodd hithau cyn ieuenged er ys talm ag ydoedd ar ddydd ei choroniad. Y mae'r anrhydedd sydd ynglŷn â'r coroni ynddo'i hun yn adnewyddu ieuengctid ambell un. Llawer mwy y mae hyn yn wir am y dŷn a wisco ac a gorono Duw. Wrth wisco pechadur truenus â thosturi ac â thrugaredd, y mae efe yn ei wisco â dillad y sy'n gweddu iddo i'r dim. Y mae ei dyner drugareddau ef yn adnewyddu ei ieuengctid yntau. Nid yw'r dŷn yn crymmu dan bwysau'r goron ddwyfol; yn hytrach, y mae yn ymunioni ac yn ym-

hoewi, fel y mae ei oedran ef yn ymddangos yn gyfesur âg oedran cyflawnder Crist, yr hwn a escynnodd i'w orsedd, ac a goronwyd â gogoniant ac anrhydedd ym mlodau ei ddyddiau.

Yn olaf, y mae Duw yn adnewyddu ieuengctid dŷn *trwy ei borthi yn dda* :—"Yr hwn sy'n diwallu dy enaid â daioni ;" neu yn hytrach, â phethau da, yr hyn sy'n arwyddo fod y ddarpariaeth nid yn unig yn helaeth, ond hefyd yn amrywiol. Gwyddoch fod llawer wedi ymwanychu, ymgrebachu, a myned yn hên cyn yr amser o eisieu digon o ymborth. A welsoch chwi ddarlun o rai o'r deugain mil o Indiaid y sy'n marw o newyn bob blwyddyn trwy ddiofalwch a chreulondeb y Prydeiniaid y sy'n eu gordrethu ac yn eu gorthrymmu? Onid yw pob rhyw ddarlun o'r trueiniaid hynny yn dwyn ar gôf ichwi y ddwy adnod hon y sydd yn y *Galarnad* :—"Duach yw'r golwg arnynt na'r gloyn ; eu croen a lŷn wrth eu hescyrn ; gwywodd, aeth yn debyg i bren. Gwell yw y rhai a laddwyd â chleddyf na'r rhai a laddwyd â newyn, o blegid y rhai hyn a ddihoenant, wedi eu trywanu o eisieu cnwd y maes." Wrth edrych ar ddarlun o ambell deulu newynllyd o'r India, yr ydych yn casclu fod rhai yn blant ac eraill yn ddynion ; ond ym mhob peth heb law eu maint, y mae'r plant yn ymddangos cyn hyned a'u rhieni. Y mae eisiau dyrnaid o rawn rhis, a gronyn o halen i'w dreulio wedi eu gwneyd oll yn hên. Y mae culni corff yn beth ofnadwy, ond y mae culni enaid yn beth mwy ofnadwy na hynny. Pe gwelai ambell ŵr cnodiog, gwridgoch lun ei yspryd ei hun mewn drych ysprydol, fe ymgiliai rhagddo mewn dychryn, gan dybied ei fod yn gweled scerbwd, cyn deneued a chyn hacred a'r Angau Glas ; a phe bâi ambell ferch ieuangc yn edrych yn y drych hwn, tybygu a wnâi ei bod yn gweled hên

wrach. Y mae newyn ysprydol yn dwyn nychdod a henaint ar ddŷn, ac yn yr henaint annaturiol hwnnw, y mae yntau yn marw o farwolaeth dragwyddol. Pa fodd y gall Duw adnewyddu ieuengctid y swbach hwn o enaid? Trwy roddi iddo fwyd cyfaddas, a digon o hono:—"Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, yr hwn sy'n diwallu dy enau â phethau da, fel y mae dy ieuengctid yn ymadnewyddu fel yr eryr." Nid rhoddi ini ddigon o fwyd i'n cadw rhag newynu y mae Duw; y mae efe yn ein diwallu, yn ein llenwi â daioni. Ac nid âg un peth da y mae efe yn ein diwallu, eithr â phethau da. Y mae helaethrwydd *ac* amrywiaeth yn ei ddarpariaeth ef. Y mae yn rhoddi ini ynghyd â manna'r anialwch ffrwythau'r wlad well—ŷd ac olew a gwin. Y *mae* Canaan, y *mae* gorphwysfa etto yn ol i bobl Dduw; er hynny, yr *ydym* ni, y rhai a gredasom yn myned i mewn (yn awr) i'r orphwysfa honno. Pan aethom trwodd o farwolaeth i fywyd, aethom dros yr Iorddonen i'r lan arall. Yr ydym ni eisys yn gwersyllu yn Gilgal; ac er na pheidiasom â rhyfela, yr ydym yn yr orphwysfa; er na pheidiodd y manna yr ydym wedi dechrau bwytta hên ŷd y wlad, ac yfed ei gwin. Pethau da Duw, pethau'r nef ydynt; a pha bryd bynnag y bo efe yn llenwi'n genau â hwynt-hwy, yr ydym yn y nef o ran ein hyspryd.

Yr ym ni yn well ein byd na'r hên Israeliaid, canys yr ydym yn yr anialwch ac yNghanaan ar yr un pryd. Gadawsom yn wir wlad yr Aifft, gwlad y cennin, y winwyn, y garlleg a'r pompiynau, am ei bod yn wlad y caethiwed; ac y mae'r byd yn barnu wrth hynny ein bod wedi newid drwg am waeth, wedi rhuthro o'r mwg i'r tân, wedi diangc ar Glwyd a boddi ar Gonwy; am ei fod ef yn synio mai byw yr ydym mewn diffaethwch gwag erchyll, lle y mae seirff tanllyd a scorpionau, a lle nad oes

dim i'w fwytta ond y manna gwael hwn; ond nid yn yr anialwch yr ydym ni yn byw—myned *trwy* hwn yr ydym i wlad afonydd dyfroedd, ffynhonnau, a dyfnderau yn tarddu allan yn y dyffryn ac yn y mynydd; gwlad gwenith, haidd a gwinwydd a ffigyswydd a phomgranadwydd; gwlad olewwydden a mêl; gwlad ymenyn gwartheg a llaeth defaid, ynghyd â brasder ŵyn; gwlad y bwyttawn fara ynddi heb brinder, ac na bydd eisieu dim arnom ynddi. Pa ham y sonia'r Eifftiaid am eu cennin a'u garlleg? Y mae yn ffiaidd gennym ni fod ynghyrraedd anadl y sawl a'u bwyttao hwynt. Yngwlad Canaan y mae llysiau a ffrwythau peraidd. Y mae ynddi hi fwydydd i gryfhau dŷn, a bwydydd i'w lonni hefyd; bara i gynnal càlon dŷn, gwin i lawenychu ei gàlon, ac olew i beri i'w wyneb ddiscleirio. Pa bechadur gwascedig sydd nad âi yn ieuangc yn ei ol wrth fyw mor fras?

A sylwer nad pethau y mae Duw yn addaw eu rhoddi yn y byd arall yn unig ydyw'r pethau hyn, eithr pethau y mae yn eu rhoddi yn y byd hwn:—"Yr hwn *sydd* yn diwallu dy enau â phethau da." Y mae yn wir na ddeil dŷn ddim cymmaint o'r nef yn y byd hwn ag a ddeil efe yn y byd a ddaw; ond fe all gael cymmaint o'r nef yn awr ag y dichon efe ei dderbyn. Y mae'r Arglwydd Iesu, yr un ffunud a'i Dad, yn addaw llawer i'w ddiscyblion; ond y mae efe wrth addaw llawer yn rhoddi llawer hefyd:—"Yr ŵyf yn gadael i chwi dangnefedd—yn ei adael ichwi yn fy ewyllys; mwy, fy nhangnefedd yr ŵyf yn ei *roddi* ichwi, yr awr hon, megis arian parod ar law." Cyfiawnder a thangnefedd a llawenydd a fydd teyrnas Dduw yn y nef, a hynny ydyw hi ar y ddaear hefyd. Y mae pethau da'r efengyl nid yn unig yn bethau sy mewn addewid, ond hefyd yn bethau sydd ym meddiant y credinwyr. Buasai'r efengyl yn llai ei gwerth na'r ddeddf, a buasai

Cristionogion yn llai eu braint na'r Iddewon, pe buasent yn byw yn unig ar obaith, ac heb gael mwynhau pethau da Duw hyd oni chaent fyned i'r nef. Yr oedd Duw yn bendithio'r Israeliaid â hyfrydwch y ddaear, hyfrydwch y nefoedd, hyfrydwch y dyfnder, a hyfrydwch bryniau tragwyddoldeb yn y byd hwn ; a thybed y rhaid i ni, y sy'n byw dan gyfammod gwell, aros am ein holl hyfrydwch hyd onid elom i'r byd arall ? Ai mewn addewid yn unig y mae'n hyfrydwch ? Na, y mae bywyd y saint ar y ddaear, nid yn fywyd o ddisgwyl yn unig, eithr yn fywyd o fwynhau hefyd. Os nad yw Duw yn diwallu fy enaid â phethau da yn y byd presennol, pa sicrwydd sy gennyf y'm diwellir â phethau da yn y byd a ddaw? Y mae yn wir mai bendithion gweledig oedd ei fendithion i'r Israeliaid, ac mai bendithion anweledig yw ei fendithion i ni. Ond a ydynt yn llai gwirioneddol am eu bod yn anweledig? Onid y pethau ni welir sy dragwyddol, ac onid y pethau tragwyddol sy'n bethau sylweddol? Ni all y bendithion gorau fod yn fendithion gweledig, am fod y bendithion gorau yn fendithion ysprydol.

Pa beth ydyw pethau da Duw mewn un gair? Bywyd tragwyddol. A pha bryd y mae dŷn yn cael y bywyd hwn? Pan yn credu ac nid pan yn marw. Wrth gredu, y mae'r hwn oedd farw yn myned yn fyw drachefn, a'r hwn oedd hên yn myned yn ieuangc yn ei ol. Bywyd sy fyth yn ieuangc, a bywyd sy'n gwneuthur yn ieuangc y sawl a'i caffo, yw'r bywyd tragwyddol. Bydd y rhai cyfiawn fel prennau bythol-wyrdd. Blodeuant a ffrwythant ar yr un pryd. Tirfion ac iraidd fyddant yn eu henaint.

Chwychwi henafgwyr, y sy'n gwyro tu a'r bedd, a chwithau wŷr canol oed, y rhai y mae blodau'r bedd yn

ymddangos ar eich gên neu ar eich coryn; chwychwi y mae hi yn aeaf yn eich càlon, a niwl y gaeaf yn pylu'ch llygaid; tydi, y mae breuddwydion melus dy ieuengctid wedi dy siomi; a thithau sy wedi claddu holl gyfeillion dy febyd yn y ddaear oer, ac wedi dy adael ar dy ben dy hun, fel gwelltyn unig a ddiangodd rhag crymman y medelwr, onid yw yn hyfryd genych feddwl fod gan Dduw drefn i adnewyddu'ch ieuengctid? Yr ydych yn cofio pa fath ddyddiau ydoedd dyddiau'ch ieuengctid: dyddiau teg heulog, pan oedd yr awelon yn chwythu yn esmwyth, a'r cymmylau yn cilio yn ebrwydd oddi rhyngoch a'r nen; dyddiau diofal, pan nad oeddych yn ymboeni ynghylch doe ac echdoe, nac yn pryderu ynghylch trannoeth a thradwy a thragwyddoldeb; dyddiau llawn o nwyfiant pan nad oedd y meillion yn ymblygu dan eich traed, rhag yscafned yr oeddych yn cerdded; dyddiau'r breuddwydion melus a'r gobeithion gwych; dyddiau, er hynny, sy'n ymddangos i ni o bell a thrwy niwl amser yn deccach o lawer nag oeddynt o agos. O! ddyddiau dedwydd, i ba le yr aethoch? A ydych wedi myned yn rhy bell i ddychwelyd? Y maent hwythau, gan atteb, yn llefain o ddyfnder tragwyddoldeb:—"Wele ni, yn barod i adgyfodi ac i ddyfod yn ol, cyn gynted ag y bo Duw wedi maddau'ch holl anwireddau a iachau'ch holl lescedd, a diwallu'ch enaid â daioni." Os mynnwch, fe ddychwelwn yn ddyddiau diddanwch, ymlidiwn ymaith y dyddiau blin. Yn lle'r bore oleuni, cewch oleuni yn yr hwyr—goleuni mwyn yn lle goleuni tanbaid. Yn lle'r plu a gollasoch, cewch blu newyddion harddach fyth. Adnewyddir eich ieuengctid. Cewch eich gwneyd yn blant eilwaith, a hynny heb eich gwneyd yn blentynnaidd. Cewch etto freuddwydio breuddwydion melusach na breuddwydion eich ieuengctid cyntaf, a chewch ddisgwyl pethau mwy gwych i ddyfod na'r pethau yr oeddych yn

eu disgwyl gynt. Cewch orfoleddu dan obaith gogoniant Duw; ac yn ben ar y cwbl, gobaith ni chywilyddia—gobaith na'ch siomma a fydd gobaith eich ieuengctid newydd.

Bechadur, oni ddymunet ti gael y nos o'th ol, trwy gael maddeuant o'th holl anwireddau, a chael y wawr o'th flaen trwy gael dy goroni â thrugaredd? O! pe gweccid dy enaid o'th bethau drwg dy hun, a phe'i diwellid ef â phethau da Duw, dïau yr ymdeimlet, ac yr edrychet hefyd, yn ieuengach o bymtheng mlynedd. Ai'r haul ddeg o raddau yn ei ol ar ddeial dy einioes. Caet weled amser dy serchogrwydd drachefn, a'th addurno eilwaith â chariedigrwydd dy ieuengctid. "Fy enaid, bendithia'r Arglwydd, yr hwn sy'n adnewyddu dy ieuengctid fel yr eryr." Gelli di gael yn y byd hwn blu newyddion, harddach na'r rhai a gollaist; ac yn y byd tragwyddol, cei blu harddach fyth. Yno, cei gorff ysprydol yn lle corff anianol, ac yspryd mwy ysprydol yn y corff hwnnw. Yno, byddi yn aderyn Paradwys, yn gerub pedair-adeiniog; ïe, yn seraff chwe-adeiniog, yn ehedeg byth yn hoew ynghanol nefoedd Duw.

*Mehefin 20fed, 1903*

IV

## BARN, CYFIAWNDER A THRUGAREDD.

"*Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb, ac nac ymffrostied y cryf yn ei gryfder, ac nac ymffrostied y cyfoethog yn ei gyfoeth; eithr y neb a ymffrostio, ymffrostied yn hyn, ei fod yn deall, ac yn fy adnabod i, mai myfi yw yr Arglwydd a wna drugaredd, barn a chyfiawnder yn y ddaear: o herwydd yn y rhai hynny yr ymhyfrydais, medd yr Arglwydd.*"—JEREMIAH ix. 23, 24.

FE lefarwyd y geiriau hyn yn yr amser cyffrous pan oedd teyrnas y ddau lwyth yn ymbarottoi i ryfela yn erbyn y Caldeaid. Yr oedd corff y genedl, yn frenin ac yn bobl, yn offeiriaid ac yn broffwydi, yn hyderus iawn y llwyddent i adferu eu hannibyniaeth. Heb sôn am Hananiah, a phroffwydi cyffelyb, yr oedd hyd yn oed Habaccuc, ac awdwr anhyspys y ddwy bennod olaf yn Llyfr Sechariah, yn credu na lwyr adawai Duw mo'i bobl ei hun, er cymmaint oedd eu hanwiredd. Yn yr Arglwydd, yn wir, yr oedd y goreuon o'r bobl yn ymddiried, ond ynddynt eu hunain ac yn eu gilydd, yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn ymddiried. Yr oedd rhai yn ymddiried yn noethineb eu llywodraethwyr; eraill yn nerth a glewder eu milwyr, ac eraill yn nylanwad eu cyfoeth. Os na allent orfod ar y gelyn trwy gyfrwysder, hwy a dybient y gallent orfod arno trwy nerth braich; ac os na allent orfod arno felly, y gallent âg arian gyflogi'r Aifftiaid neu ryw genedl arall i'w cynnorthwyo; canys "arian medd y gŵr doeth sydd yn atteb i bob peth." Ychydig iawn o filwyr a allodd

Prydain eu hanfon yn erbyn Napoleon; ond hi a allodd âg arian gynnorthwyo myrddiynau o estroniaid i ryfela yn ei erbyn. Trwy gyfoeth y Saeson, nerth yr Ellmyn a'r Prusiaid, a chyfrwysder y Rhusiaid, fe lwyddwyd o'r diwedd i orchfygu'r cadlywydd galluoccaf a welsai'r byd er amser Iwl Caisar. Y mae doethineb, cryfder a doethineb, bob un ar ei ben ei hun, yn allu mawr; ond pan y mae y tri mewn undeb â'u gilydd, y maent y pryd hwnnw yn allu dirfawr ac anorchfygadwy. Pa deyrnas bynnag y mae iddi lywyddion doeth, milwyr nerthol a chyfoeth mawr, honno ydyw yr alluoccaf mewn rhyfel. Am fod gan Ffraingc fwy o'r anhebgorion hyn nag un deyrnas arall y gallodd hi ddarostwng yr holl Gyfandir yn nyddiau gorau Napoleon y Cyntaf; ac am fod yr Ellmyn a'r Prusiaid yn rhagori mewn dau o'r tri pheth hyn y gallasant hwythau yn eu tro orchfygu'r Ffrangcod yn amser Napoleon yr Ail.

Hwyrach nad oedd teyrnas fach y ddau lwyth yn brin o wŷr doeth, o wŷr cryfion ac o wŷr cyfoethog; ond y mae yn sicr fod ynddi lai o lawer o'r cyfryw wŷr nag oedd yn nheyrnas fawr brenin Babilon; ac am hynny yr oedd y proffwyd Jeremiah yn gwneuthur yn gall wrth gynghori ei gydwladwyr i beidio âg ymffrostio yn eu doethineb eu cryfder a'u cyfoeth. Gan ei fod yn credu nad oedd Duw, o achos eu pechodau, ddim yn bwriadu eu hamddiffyn, ni ellir beio arno am eu hannog i ymostwng i frenin Babilon, rhag digwydd iddynt yr hyn a fyddai gwaeth. Nid anwladgarwch, eithr *dyngarwch*, oedd yn ei gynnhyrfu i broffwydo drwg i'w genedl ei hun, canys er mai gwych yw gweled cenedl yn colli ei gwaed, er mwyn ennill ei hannibyniaeth, etto peth angall a chreulon yw i ddŷn annog ei genedl i golli ei gwaed yn ofer. Fe fuasai mor annoeth i Jeremiah gynghori yr Iddewon i wrthryfela yn

erbyn Babilon y pryd hwnnw ag a fuasai i minnau gynghori'r Cymry i wrthryfela yn erbyn Lloegr y pryd hwn. Fel y mae'r gorau, nid oes un ymmerodraeth fawr a gormesol yn parhau yn hir; a phe buasai'r Iddewon yn ddigon amyneddgar i aros am ryw hanner can mlynedd fe fuasai iau y Caldeaid yn syrthio oddi ar eu gwarrau o honi ei hun. Trwy wrthryfela, y pryd hwn, hwy a wnaethant eu hunain yn rhy wan i wrthryfela yn effeithiol mewn amser mwy cyfaddas. Ar ol i'r gwrthryfel ymdorri, hwyrach fod geiriau calonnogol y proffwydi eraill yn fwy buddiol na geiriau wylofus Jeremiah; ond cyn iddo ymdorri yr oedd yn rheitiach i'r genedl wrth broffwyd anobeithiol fel efe nag wrth broffwydi gobeithiol fel Hananiah a Habaccuc. Y mae modd i ddynion, trwy esceuluso eu dyledswyddau eu hunain, obeithio gormod yn yr Arglwydd. Er engraifft, chwi a wyddoch beth a ddigwyddodd i'r Armada—i'r llynges Yspaenig a gychwynnodd allan yn erbyn Prydain yn amser y frenhines Elspeth. Ni bu erioed forwyr a milwyr mor grefyddol ag oedd yn y llynges honno. Yr oedd ym mhob llong agos gymmaint o offeiriaid yn gweddio ag oedd o filwyr. Yr oeddid yn cospi'r dynion am bob rheg, am bob gair serth, ac am bob camymddygiad. O'r tu arall, ni bu erioed ddynion mwy rheglyd a mwy didoriad nag oedd yn llongau Lloegr. Beth, er hynny? yr oedd hyd yn oed eu hanystyriaeth yn eu gwneyd yn ddewr, neu, o leiaf yn ddibris o'u bywyd. Os oedd eu llongau yn llai, yr oeddynt yn hwylusach, ac yn gadarnach hefyd na llongau'r gelyn. Yr oedd eu holl ddarpariaethau yn dda, am fod iddynt benllywydd da; ac nid un cwbl ddibrofiad fel penllywydd yr Yspaeniaid. Y canlyniad oedd mai y blaid oedd yn hyderu ynddynt eu hunain, yn eu llongau ac yn eu llywydd, ac nid y blaid oedd yn hyderu yn Nuw, a orfu yn yr ymdrech.

Yr oedd gan yr Iddewon, sef y ddau lwyth, lai o achos i hyderu yn Nuw nag oedd gan yr Yspaeniaid, am eu bod, yn ol tystiolaeth yr holl broffwydi, wedi pechu yn ddirfawr yn ei erbyn ; a chan nad oedd ganddynt achos i hyderu yn Nuw, nid oedd ganddynt achos i hyderu ynddynt eu hunain chwaith ; canys heb Dduw yn borth iddynt, yr oeddynt yn rhy wan i wrthsefyll y Caldeaid.

Y mae y gorchymyn sydd yn y testyn yn orchymyn cyfaddas i bawb ym mhob oes ; canys nid yr Iddewon yn unig oedd yn chwannog i ymffrostio mewn pethau na ddylasent ymffrostio ynddynt ; y mae pawb nad ydynt yn ymffrostio yn Nuw, ac ynghroes ein Harglwydd Iesu Grist yn ymffrostio mwy neu lai naill ai mewn doethineb neu mewn cryfder, neu ynte mewn cyfoeth. Y mae felly dri dosparth o ymffrostwyr, ac fe'u henwir yn y testyn oddi fyny tuag i lawr. Ymffrostia'r dosparth uchaf yn yr hyn sy'n cyfansoddi rhagoriaeth yr enaid, sef doethineb; ymffrostia'r dosparth canol yn yr hyn sy'n cyfansoddi rhagoriaeth y corff, sef cryfder; ac fe ymffrostia'r dosparth isaf yn yr hyn sy'n cyfansoddi rhagoriaeth amgylchiadau, sef cyfoeth. Y mae ambell ddŷn yn meddu'r tri pheth hyn, a *llawer* dŷn yn meddu dau o honynt ; er hynny, o blegid rhyw un o honynt y mae efe yn enwog. Er y dywedir i Dduw roddi i Solomon y fath gyfoeth a gogoniant na bu eu cyffelyb gan frenhinoedd o'i flaen nac ar ei ol, etto fel dŷn doeth yr ydys yn ei adnabod ef; ac y mae lle i gasclu mai yn ei ddoethineb yr oedd efe yn ymffrostio; a phe buasai yn weddus iddo ymffrostio mewn rhywbeth, y mae yn rhaid addef fod yn weddusach iddo, o'r ddau, ymffrostio mewn doethineb nag mewn cryfder a chyfoeth ; canys y mae gogoniant yr enaid yn fwy na gogoniant y corff, a gogoniant y corff yn fwy na gogoniant amgylchiadau.

Yn awr, os nad yw yn iawn i ddŷn ymffrostio mewn doethineb, mewn cryfder, ac mewn cyfoeth, ym mhwy neu ym mha beth y dylai efe ymffrostio? "Y neb a ymffrostio, ymffrostied yn hyn, ei fod yn deall ac yn fy adnabod i," neu yn hytrach, ei fod yn deall â'r meddwl "mai myfi yw yr Arglwydd a wna drugaredd, barn a chyfiawnder," ac yn enwedig, ei fod yn fy adnabod â'r gàlon fel un a wna drugaredd, barn a chyfiawnder yn y ddaear. Dyma beth ag y mae yn *wiw* i ddŷn ymffrostio ynddo, canys wrth ymffrostio yn hyn, gogoneddu Duw y mae ac nid gogoneddu ei hun. Pan y bydd dŷn bach yn ymffrostio ei fod yn adnabod rhyw ŵr mawr, dyrchafu arall y bydd efe mewn gwirionedd wrth amcanu dyrchafu ei hun. Os mynnwn ymffrostio mewn rhywbeth sydd ynom ni'n hunain, ymffrostiwn yn ein hadnabyddiaeth o'r Arglwydd. Y mae efe yn ymhyfrydu yn y rhai sy'n ymfalchïo eu bod yn ei adnabod ef. Dyweded y dŷn a gyfrifir yn ddoeth:—"Ynfyd ydwyf, o'm cymmharu âg angel; ond yr wyf yn adnabod y Duw unig ddoeth." Dyweded y dŷn a gyfrifir yn gryf:—"Gwan ydwyf, o'm cymmharu â llawer anifail, ond yr wyf yn adnabod y Duw Hollalluog." Dyweded y dŷn a gyfrifir yn gyfoethog:—"Tlawd ydwyf, o'm cymmharu â llawer o'm cyd-ddynion, ond yr wyf yn adnabod y Duw Hollgyfoethog." Dyweded yr hwn y mae ganddo ddoethineb, cryfder, a chyfoeth:—"Eiddo benthyg yw y cwbl; ac yn hyn yn unig yr ymffrostiaf, sef fy mod yn adnabod yr Echwynnwr, ac yn deall pwy ydyw y gwir Berchennog." Nac ymffrostiwn ninnau yn y pethau hyn, am mai Duw a'u rhoes, ac am y gall efe eu cymmeryd oddi arnom pan y mynno. Wrth ymffrostio yn noniau Duw, fel pe baent yn eiddo priodol i ni'n hunain, yr ydym yn camattal y gogoniant sy ddyledus i'r Creawdr. Yr hwn sy'n ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd, ac yn ei adnabyddiaeth o'r Arglwydd.

Yn yr esponiad byr a welais i ar y ddwy adnod hyn, nid ydys yn rhoi ar ddeall fod dim cyferbyniaeth neu gyfattebiaeth rhwng y tri pheth a enwir yn y naill adnod a'r tri pheth a enwir yn y llall. Er hynny, y mae yn annodd meddwl nad oes cyferbyniaeth. Y mae yn wir nad yw pob cwpl o eiriau sy'n gyferbyniol â'u gilydd o ran ystyr ddim yn gyferbyniol â'u gilydd o ran lle; a rheswm da pa ham. Wrth enwi'r pethau y mae dynion yn ymffrostio ynddynt, yr oedd yn naturiol i'r proffwyd enwi doethineb ym mlaenaf, am fod doethineb yn rhagori ar gryfder a chyfoeth; ac wrth enwi'r pethau y mae Duw yn ymhyfrydu ynddynt, yr oedd yn naturiol iddo enwi trugaredd ym mlaenaf, am fod trugaredd yn fwy hawddgar yngolwg pechadur nag yw barn a chyfiawnder. Felly y mae'r peth a enwir ym mlaenaf yn un adnod yn gyferbyniol â'r peth a enwir yn olaf yn yr adnod arall.

Yn awr, ni a edrychwn ym *mlaenaf* ar y *cyferbyniad* a wneir rhwng *doethineb dyn a barn yr Arglwydd:*—"Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb, eithr ymffrostied yn hyn, ei fod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna farn." Yn y gallu i farnu yn uniawn y mae doethineb Duw a dŷn yn ymddangos. Y prawf cyntaf a roes Solomon o'i fawr ddoethineb oedd y farn a wnaeth efe rhwng y ddwy wraig oedd yn ymryson am y plentyn byw. Fel hyn y dywedir:—"A holl Israel a ofnasant y brenin, canys gwelsant fod doethineb Duw ynddo ef i wneuthur barn." Ac meddai Paul hefyd wrth y Corinthiaid:—"Onid oes yn eich plith gymmaint ag un doeth, yr hwn a fedro farnu rhwng ei frodyr?" Yn y testyn, gan hynny, ac mewn llawer adnod arall, gwneuthur yn ddoeth ac nid cospi a feddylir wrth wneuthur barn:—"Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb, eithr ymffrostied yn hyn, ei fod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna bob peth yn

ddoeth." Efe, mewn gwirionedd, yw y Duw *unig* ddoeth, ac ynfydion yw pawb ger ei fron ef. Gan nad yw barn Duw yn ddim amgen na'i ddoethineb, fe welir felly fod y proffwyd yma yn dal tair priodoledd fawr Duw ar gyfer tri gallu mawr dŷn; ac y mae doethineb, cyfiawnder, a thrugaredd nid yn unig yn briodoleddau, ond hefyd yn weithrediadau; a hynny, yn un peth, sy'n profi eu rhagoriaeth. Y mae *yn* Nuw wybodaeth—holl-wybodaeth, ond ni ellir dwedyd, "Efe a *wna* wybodaeth." Yn y gwrthwyneb, y mae doethineb, cyfiawnder, a thrugaredd nid yn unig yn bethau sydd *yn* Nuw, ond hefyd yn bethau y gall Duw eu gwneuthur. "Efe a *wna* ddoethineb neu farn, efe a *wna* gyfiawnder, efe a *wna* drugaredd." Priodoleddau gweithredol yw y priodoleddau hyn; ac am eu bod felly, y mae yn wiw gan Dduw ymhyfrydu ynddynt, ac yn wiw i ddŷn ymffrostio ynddynt. Er fod gwybodaeth Duw yn anfeidrol fel ei ddoethineb, etto y mae yn rhaid ini synio yn uwch am ei ddoethineb nag am ei wybodaeth, fel y mae yn rhaid ini synio yn uwch am ddoethineb *dyn* nag am wybodaeth dŷn; canys pa beth ydyw doethineb yn Nuw ac mewn dŷn amgen na gwybodaeth ar waith, gwybodaeth yn cerdded tuag at nôd, gwybodaeth yn cynllunio, yn trefnu, ac yn llywodraethu?

Y mae ambell ddŷn gwybodus iawn nad yw yn lleshau neb trwy ei wybodaeth, am nad oes ganddo ddoethineb i iawn arfer ei wybodaeth. Nid ŵyf yn rhyfygu wrth ddyweyd mai Duw difudd i mi a fuasai Duw holl-wybodol pe na buasai yn Dduw doeth. Fo allasai trwy ei wybodaeth ganfod fy meiau bob un; ond trwy ei ddoethineb y trefnodd efe ffordd i'm gwneyd yn lân. Ei ddoethineb, yn fwy na dim arall sy'n tynnu fy sylw i wrth edrych ar waith ei ddwylaw. Mi fyddaf yn rhyfeddu nid ychydig wrth ei *allu* yn crogi'r ddaear ar ddiddim, yn

hwylio cerddediad y sêr, yn darllaw ystormydd yn yr awyr, ac yn gwneuthur ffordd i fellt y taranau. Mi fyddaf yn gallu synio ychydig bach yn well am ei *anfeidroldeb* pan y clywaf am wyddoniaid yn darganfod seren y tu hwnt i seren, haul y tu hwnt i haul, a bydoedd pellach y tu hwnt i fydoedd pell. Pan ystyriwyf y rhaid fod y Creawdr yn gwybod rhifedi ac enwau a naturiaethau ac anghenion ei holl greaduriaid, fe fydd fy syniad am ei *wybodaeth* yn cynnyddu. Er hynny, nid ei holl-wybodaeth na'i allu na'i anfeidroldeb a fydd yn peri i mi ryfeddu fwyaf, eithr ei ddoethineb. "Efe a wnaeth bob peth"—yr anfesurol fawr a'r anfesurol fychan hefyd. Y mae hynny yn rhyfedd, ond dyma beth rhyfeddach:—"Efe a wnaeth y naill beth ar gyfer y llall." Yn ei waith yn cyfaddasu pethau i'w gilydd y dangosodd y Creawdr ei hun yn *artist*—yn ben saer celfydd. Fe gyfaddasodd y goleuni i'r llygad, a'r llygad i'r goleuni; yr awyr i'r yscyfaint, a'r yscyfaint i'r awyr. Fe wnaeth y pridd ar gyfer yr hâd, a'r hâd ar gyfer y pridd. Fe drefnodd y ddaear i fagu llysiau, a'r llysiau i borthi anifeiliaid, a'r anifeiliaid i wasanaethu dyn. Fe wnaeth wynfyd ar gyfer dŷn, a dŷn ar gyfer gwynfyd. Ond yn nhrefn yr iachawdwriaeth y dangosodd Duw ei *fawr amryw* ddoethineb; ac er na ordeiniodd efe bechadur ar gyfer Ceidwad, fe *a* ordeiniodd Geidwad ar gyfer pechadur; iawn ar gyfer pechod, a balm ar gyfer clwy.

Mynych y byddwn yn mawrygu yr Arglwydd o blegid ei fawr drugaredd. A ydym yn ymffrostio ynddo o blegid ei fawr ddoethineb hefyd?

Dïau, medd rhywun, fod Duw yn ddoeth iawn fel Creawdr ac fel Gwaredwr; ond pa beth, attolwg, a ddywedwch am dano fel Llywodraethwr? A ydyw yn

gwneuthur yn ddoeth wrth gymmeryd ymaith y rhieni cyn gorphen magu eu plant, ac wrth fyrhau dyddiau rhai o'i weision ffyddlonaf, ac estyn dyddiau gweision anfuddiol? Ydyw, yn ddïau, er fod yn annodd dangos ar hyn o bryd pa *fodd* y mae yn gwneuthur yn ddoeth wrth wneuthur felly. Y mae yn *rhaid* ei fod yn ddoeth yn ei Ragluniaeth, os yw yn ddoeth yn ei greadigaeth; ïe, y mae yn rhaid ei fod yn ddoeth ym mhob peth, os yw yn Dduw. Nid yw ryfedd fod ei ddoethineb yn amlyccach ynghreadigaeth y byd, ac yn iachawdwriaeth dŷn nag mewn Rhagluniaeth, canys y mae creadigaeth ac iachawdwriaeth ar ryw olwg yn bethau gorphennedig, tra y mae Rhagluniaeth yn beth anorphen. Pan y bo yr Arglwydd ar ganol yscubo a threfnu ei dŷ, y mae pob peth yn ymddangos yn llanastr, ond pan orphenner y gwaith, fe welir y bydd pob peth yn ei le, ac fe dystia'r briodasferch ei hun ddarfod gwneuthur y cwbl mewn doethineb. O amgylch, ar hyd llwybrau ceimion, trwy anialwch mawr ac ofnadwy, y mae'r Arglwydd yn arwain ei bobl i ddinas gyfanneddol, ond y mae yn dwyn arnynt ddrygau mawr er mwyn eu cadw rhag drygau mwy; y mae yn eu harwain o amgylch, rhag peri iddynt yn eu gwendid wynebu'r Philistiaid a gelynion eraill rhy gryfion. Oddi ar y gwastad yr ydym yn edrych arno yn awr; rhannau o ffyrdd Duw a welwn ni. Ym mhen eithaf y ffordd y gallwn farnu yn gywir am gymmhwysder y ffordd. O fryniau Caersalem ceir gweled *holl* daith yr anialwch i gyd, y pryd hynny daw *troion* yr yrfa yn felus i lanw ein bryd. Gwyn ei fyd y dŷn sy'n adnabod yr Arglwydd fel un a wna ddoethineb, ac a all ymffrostio yn y ddoethineb honno pan y bo hi yn myned yn erbyn ei ddoethineb ef ei hun.

Yr *ail gyferbyniad* a wneir yn y testyn yw y cyferbyniad rhwng *cryfder dyn a chyfiawnder Duw*:—"Nac ymffrost-

ied y cryf yn ei gryfder, eithr y neb a ymffrostio, ymffrostied yn hyn, ei fod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna gyfiawnder." Fel mai galluogi dyn i wneuthur doethineb ydyw diben gwybodaeth, felly galluogi dyn i wneuthur cyfiawnder yw diben cryfder. Gresynus yw gweled cryfder lle na bo dim cyfiawnder. Melldith ac nid bendith i'r byd yw bod *cenedl* yn gref, os na bydd hi yn gyfiawn hefyd. Pan y bo cenedl yn camarfer ei chryfder i yspeilio cenhedloedd gwannach o'u tir a'u rhyddid, ac i orfodi y rhai a ddarostyngwyd ganddi i brynu gwirodydd ac opiwm, ac ambell Destament grôt yn y fargen, yna y mae cryfder y genedl honno yn rhywbeth arswydus yngolwg pob dŷn nad yw ei lygaid wedi eu dallu gan ogoniant milwrol. Yn y gwledydd lle y mae Cristionogaeth yn hytrach yn gochl i guddio camwri nag yn anian dduwiol yn y gaîon, cryfder yw iawnder—"*Might is right*" ydyw yr erthygl gyntaf yn eu credo, a'r "Trecha treisied" yw y gorchymmyn cyntaf yn eu cyfraith. Yr ŵyf fi, fel y dylai pob pregethwr wneyd, wedi darllen y rhan fwyaf o lyfrau yr anffyddwyr galluoccaf; ond ni byddaf fi byth yn cael fy nhemtio gymmaint i fod yn anffyddiwr fy hun a phan y byddaf yn clywed gweddiwyr yn diolch yn hunangar i Dduw am nad yw cenhedloedd eraill yn ymosod ar y wlad hon, heb eu bod yn dangos dim gofid o achos fod y wlad hon yn ymosod yn ddiddiwedd ar fân genhedloedd estronol. Os na bydd gwaedd yn eu heolydd hwy eu hunain, ni waeth gan y rhai hyn pa faint o waeddi a fydd ym mhlith cenhedloedd pell. Y mae cywilydd wyneb i ni, Brotestaniaid efengylaidd, wrth feddwl mai anffyddwyr ac Undodiaid a wnaeth fwyaf i ddarostwng caethwasanaeth personol yn yr oes o'r blaen, ac mai hwynthwy sy'n gwneuthur mwyaf i ddarostwng caethwasanaeth cenhedlig yn yr oes hon. Er cymmaint o gennadon a Beiblau a ddanfonir allan o'r wlad hon, nid ydynt, a siarad yn

gyffredinol, yn cael odid ddim dylanwad ar baganiaid ; a hynny am nad yw y bobl sydd yn eu danfon ddim yn parchu cyfiawnder, trwy wneuthur i genhedloedd eraill fel y mynnent i genhedloedd eraill wneuthur iddynt hwy. Ad-daliad bychan yw rhoddi tippyn o gerdod i ddynion ar ol ini gyfoethogi'n hunain trwy eu hyspeilio hwy o'u rhyddid a'u meddiannau. Cyn bod yn drugarog, rhaid ini fod yn gyfiawn. Yr ydym bellach yn ddigon moesol i gydnabod y dylai'r dŷn cryf ymddwyn yn gyfiawn tuag at y dŷn gwan; ond nid ydym gan mwyaf yn ddigon moesol i gydnabod y dylai cenedl gref ymddwyn yn gyfiawn tuag at genedl wan. A barnu wrth ein pregethau a'n gweddiau, cyfiawnder Phariseaidd—cyfiawnder cul, hunanol, yw ein cyfiawnder ni. Os mynnwn fod yn wir Gristionogion, rhaid ini wrth gyfiawnder helaethach, a fydd yn llammu dros derfynnau'n gwlad ein hunain, ac yn ymestyn at y Gwyddelod, y Bohemiaid, y Pwyliaid, yr Eifftiaid, yr Abysiniaid, y Matabeliaid, yr Armeniaid a'r Indiaid, a phob cenedl nad yw hi yn mwynhau breintiau cenedl rydd. Os ydym yn credu fod gan un genedl hawl i fod yn annibynol, ni a ddylem gredu fod gan bob cenedl hawl i fod yn annibynol. Ymffrostio mewn cryfder ac nid mewn cyfiawnder—ymffrostio yn y gallu mwyaf anifeil-aidd yr ydym, wrth haeru fod yn oddefol i genedl gref orfod ar genedl wan. Nid oes gan neb cryf, pa un bynnag a fyddo ai dŷn ai cenedl, hawl i arfer ei gryfder, oddi eithr i amddiffyn ei hun ac i amddiffyn y gwan. Wrth ddywedyd y pethau hyn, nid traethu syniadau gwleidyddol yr ydwyf, eithr traethu egwyddorion moesol—egwyddorion ag y mae Cristionogaeth ei hun yn seiliedig arnynt.

Y mae Duw yn anfeidrol gryf; er hynny, ni fŷn efe, ac am hynny ni faidd ac ni all efe arfer ei gryfder i wneuthur

dim sydd yn groes i gyfiawnder. Y mae ei gryfder ef yn wastadol yn llifo rhwng ceulannau cyfiawnder a barn. I ni, sy'n bechaduriaid, fe fuasai Duw cyfiawn heb drugaredd ynddo yn Dduw ofnadwy iawn ; ond fe fuasai Duw cryf heb gyfiawnder ynddo yn Dduw mwy ofnadwy o lawer. Pa beth bynnag ydym yn y byd hwn, a pha beth bynnag a fydd ein rhan yn y byd a ddaw, y mae yn rhywbeth ini wybod y cawn gyfiawnder, os na chawn drugaredd. Ni farna Duw monom yn euog hyd oni byddwn ni ein hunain wedi methu â dangos ein bod yn *ddi*-euog. Y mae pob pechadur yn sefyll beunydd o flaen y frawdle, a'r Barnwr yn dywedyd wrtho yn bwyllog oddi ar y faingc :—"Dwg ar gof imi, cydymddadleuwn, adrodd di, fel y'th gryfhäer." Fe fyddai yn dda gan gàlon Duw pe gallet rywfodd gyfiawnhau dy hun ger ei fron, ac os gwyddost am rywbeth yn dy ffafr, fe'i cyfrifir yn dy ffafr.

Ond yn lle ceisio cyfiawnhau dy hun, onid gwell a fyddai iti ddywedyd, "Maddau fy anwiredd, canys mawr yw?" Fe dyciai'r ddadl hon yn well na'r llall hyd yn oed o flaen gorseddfaingc barn ; canys os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a *chyfiawn*, fel y maddeuo ini'n pechodau, ac y'n glanhäo oddi wrth bob anghyfiawnder. Y mae trefn Duw i faddau yn arddangosiad o'i gyfiawnder. Y mae efe nid yn unig yn *maddau* yn gyfiawn, fel y dywed yr *Hyfforddwr*, ond y mae hefyd yn maddau *am* ei fod ef ei hun yn gyfiawn. Ond cyn y gall Duw faddau yn ol cyfiawnder, rhaid i ddŷn gyffesu ei *an*ghyfiawnder. Y mae pawb yn gweled *trugaredd* Duw yn nhrefn yr iachawdwriaeth, a llawer yn gweled ei ddoethineb hefyd ynddi, ond pa nifer o honom sydd yn gweled ei gyfiawnder ynddi? "Y neb a ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd, fel un a wna gyfiawnder."

Ond y mae y testyn yn chwanegu—"a wna gyfiawnder yn y *ddaear*"—y ddaear y dywedir mewn man arall ei bod yn llawn o drigfannau trawsder. "Yn awr," medd rhywun, "os yw Duw yn gwneuthur cyfiawnder yn y ddaear, pa ham y mae ynddi gymmaint o anghyfiawnder?" Yr anghyfiawnder y mae Duw yn ei oddef, ac nid yr anghyfiawnder y mae yn ei wneuthur ydyw hwn; ac y mae Duw dros amser yn goddef anghyfiawnder mewn eraill, am ei fod ef ei hun yn gyfiawn; canys ni byddai modd iddo ddiddymmu anghyfiawnder yn llwyr ac ar unwaith heb dorri ymaith y rhai anghyfiawn, neu ynte ormesu ar ryddid eu hewyllys; a phe bâi Duw trwy orthrech yn dwyn ymaith y rhyddid a roes efe i'w greadur, nid arfer ei gyfiawnder y byddai, eithr *cam*-arfer ei gryfder. Rhyddid yw rhagorfraint a gogoniant dŷn; ac er i ddŷn gamarfer ei ryddid, etto nid yw Duw yn gweled yn dda ddwyn oddi arno y peth ag sy'n ei wneyd yn greadur cyfrifol. Trwy foddion moesol y mae y Creawdr yn dewis gweithredu ar ewyllys ei greadur, ac y mae y moddion hynny o anghenraid yn araf hyd yn oed pan y byddont yn effeithiol Felly, er fod gogwydd y byd tuag at gyfiawnder, y mae yn aros ynddo lawer o anghyfiawnder. Cyfiawnder y mae Duw yn ei wneuthur yn y ddaear, ond y mae dynion yn gwneuthur anghyfiawnder ynddi; er hynny, gan fod cyfiawnder Duw yn gryfach nag anghyfiawnder dynion, fe orfydd cyfiawnder yn raddol ar anghyfiawnder. Hynny o gyfiawnder sydd yn y ddaear, o Dduw y mae; am hynny, "y neb a ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd."

Y *trydydd cyferbyniad* a wneir yn y testyn yw y cyferbyniad rhwng *cyfoeth dyn a thrugaredd Duw*:—"Nac ymffrostied y cyfoethog yn ei gyfoeth, eithr y neb a ymffrostio, ymffrostied yn hyn, ei fod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna drugaredd." Rhywbeth o'r tu

allan i ddŷn yw cyfoeth daearol, ond rhywbeth sydd o fewn Duw ydyw ei gyfoeth ef. "Eiddo yr Arglwydd yr aur, ac eiddo ef yr arian; yr anifeiliaid ar fil o fynydd-oedd ydynt eiddo ef;" ond nid yn y pethau hyn y mae ei gyfoeth ef. Trugaredd yw gwir olud yr Arglwydd; ac am hynny ni ddywedir ei fod yn gyfoethog mewn dim oddi eithr mewn trugaredd a gras, ac yn y gogoniant y mae y pethau hyn yn amlygiad o honno. Ac yn wir, wrth hynny o drugaredd sy mewn *dyn* y dylid mesur ei gyfoeth yntau; canys y mae gwir gyfoeth Duw a dŷn yn gynnwysedig yn yr hyn yr ydys yn ei roddi, ac nid yn yr hyn yr ydys yn ei gadw. Pan y mae Duw a dŷn yn trugarhau, y maent yn rhoddi rhywfaint o honynt eu hunain—o'r hyn sydd ynddynt, ac nid o'r hyn sy ganddynt yn unig, ac felly yn rhoddi rhywbeth sy werth-fawrusach na'r colladwy. Pan fynnodd Duw roddi bywyd tragwyddol i ddynion, fe roes ei hun; fe roes ei Fab. Bellach, y mae pob bendith a ddyry Duw ini â'i law wedi ei thynnu allan o'i gàlon ef. Y mae llun càlon y Tad ar bob ceiniog y mae efe yn eu rhoddi i'w blant. Y mae yn rhoddi ymborth i'w diwallu gyd â dymuniadau gorau Tad, ac yn rhoddi gwisc i'w dilladu gyd â chofion cynnes Tad. Y mae ei drugaredd ar ei holl weithredoedd; canys er pan aethom yn blant afradlon, y mae pob bendith ysprydol a thymmhorol yn dyfod ini yn ffurf trugaredd. Hyn, fel y gwyddoch, ydyw trugar-edd, sef daioni Duw fel y mae yn gweithredu tuag at y truan a'r annheilwng. Lle na bo trueni nid oes angen am drugaredd. Pechod dŷn a roes achlysur i ddaioni Duw ymddangos yn drugaredd. Gan hynny, nid ydyw trugaredd arni ei hun yn briodoledd, yn ystyr manwl y gair. Yn hytrach, un o wynebau priodoledd arall yw hi, sef y wyneb i ddaioni sydd yn edrych ar ddŷn yn ei wendid a'i wae. Yngolwg pechadur, gan hynny, trugar-

edd yw y peth teccaf a berthyn i Dduw. Y mae chwedl yn hanes y Groegiaid fod tair prif dduwies y paganiaid, sef Minerva, duwies doethineb; Hera, duwies dialedd; a Gwener, duwies cariad, wedi gofyn i ddŷn a'i enw Paris, benderfynu pa un o honynt oedd deccaf, ac iddo yntau ddyfarnu mai y dduwies a eilw'r Cymry yn Gwener neu Gweno oedd yn haeddu'r afal aur. Doethineb, cyfiawnder a thrugaredd yw tair prif riain y nef; a phe gofynnid i bechadur gyhoeddi pa un o'r tair yw y rhianon, sef y rhian brydferthaf, fe ddywedai fod doethineb yn uchel ei thalcen ac yn graff ei llygaid, ac fod cyfiawnder yn fawreddig iawn ei hystum, ond mai trugaredd, sef y debyccaf i Gweno fwyn gu, ydyw ei anwylyd ef. Wn i ddim na byddai yn ddoethach iddo ddweyd, fel plentyn bach, fod yn well ganddo'r tair priodoledd na dyweyd fod yn well ganddo un; ond pwy a'i beia am farnu mai trugaredd yw yr amgeledd cymmwysaf i bechadur, ac am waeddi ar Dduw o ganol ei drueni:—"Trugaredd wyf yn geisio, a cheisio etto wnaf; Trugaredd imi dyro, 'rwy'n marw oni's caf?" Yn ddïau, trugaredd yw cariad cyntaf dŷn truenus, a chyn meddiannu hon, ni faidd efe gyfrif doethineb a chyfiawnder hyd yn oed yn gyfeillion iddo. Er hynny, cyfeillion, a mwy na chyfeillion iddo ydynt ill tair, a chyfeillion i'w gilydd hefyd; canys y maent bob amser yn cerdded fraich ym mraich; a phan y bo cyfiawnder a barn o bobtu i drugaredd, ni raid gofyn iddynt, A oes heddwch? Yn lle bod yn elynion i'n cospi, y maent yn chwiorydd trugaredd i'n hymgeleddu. Y mae y briodoledd fwyn a'r briodoledd lem yn rhedeg am y cyntaf i gyfarfod yr edifeiriol. Pan y bydd trugaredd fel Cusi yn cael gorchymmyn i redeg gyd â chennadwri addas at bechadur, fe fydd cyfiawnder hefyd, fel Ahimaas yn gofyn, "Gad i minnau redeg." I ba beth y rhedi di? "Wel, gad imi redeg yn unig er mwyn imi gael dangos fy

ochor. Fe fydd yn rhyw galondid i enaid ofnus gael gwybod yn sicr nad oes iddo ddim i'w arswydo ynof fi. Os dywed trugaredd wrtho dy fod yn maddau ei bechodau bob un, mi chwanegaf finnau dy fod yn dangos dy gyfiawnder wrth wneyd hynny. Os dywed trugaredd dy fod wedi ymddyrchafu i dosturio, mi orphennaf finnau yr adnod trwy ddyweyd, "Canys Duw cyfiawnder yw yr Arglwydd." "Os tystiolaetha hi fod ei chwiorydd-briodoliaethau yn dymuno yn dda iddo, mi fyddaf finnau yno i gadarnhau ei gair. Mi ddywedaf beth a wnaeth doethineb erddo, yn y cyngor bore, a pha beth a wnaeth fy nghleddyf innau yn nydd y taro mawr." "Y mae'r priodoliaethau mewn hedd, yn gwaeddi trugaredd *i gyd.*"

O! fy ngwrandawyr, nid gwahanol deimladau yn gwrthwynebu eu gilydd ym mynwes Duw ydyw y priodoleddau. Er fy mod, yn ol dull cyffredin y Beibl, yn sôn am danynt, megis pethau ar wahân, etto un ydynt yn eu bôn. Agweddau ydynt oll ar ddaioni Duw, sef y Duw sydd ar unwaith yn gariad ac yn oleuni. Pa beth ydyw doethineb ond llygad ei ddaioni? Pa beth yw cyfiawnder ond braich ei ddaioni? a pha beth yw trugaredd ond deigryn ei ddaioni—daioni yn llefaru yn y cywair lleddf—daioni yn ymgyfrannu i'r truan? Cariad yw Duw, medd un blaid; goleuni yw Duw, medd plaid arall. Os mynnir dyweyd mewn un gair pa beth ydyw Duw, dyweder mai daioni ydyw; o blegid y mae daioni yn cynnwys y cariad heb gau allan y goleuni, sef doethineb a santeiddrwydd, ac yn cynnwys y goleuni heb gau allan y cariad. Pe cariad yn unig a fuasai Duw, yna ni allasai fod yn Dduw i'w greaduriaid direswm, canys personau ac nid pethau a ellir eu caru. Ond y mae Duw yn dda i bawb—i angylion, i ddynion, ac i anifeiliaid hefyd. "Dangos imi dy ogoniant," ebe Moses wrth

Dduw. Yntau a attebodd, "Gwnaf i'm holl ddaioni fyned heibio o flaen dy wyneb." Y mae gogoniant Duw yn gynnwysedig yn ei ddaioni; ïe, y mae ei holl gyfoeth ef yn gynnwysedig yn ei ddaioni. Ac y mae y cyfoeth hwn yn eiddo rhedeg—yn eiddo y gellir ei drosglwyddo i eraill. Mewn cyfrannu ac ymgyfrannu y mae daioni yn boddloni ei hun, ac am hynny y dywedir yn y testyn mai mewn gwneuthur daioni, sef mewn gwneuthur barn a chyfiawnder a thrugaredd y mae yr Arglwydd yn ymhyfrydu. Yr oedd Duw, yn wir, yn berffaith ddedwydd cyn creu y byd, ac fe allasai barhau yn ddedwydd, ynddo ac wrtho'i hun; er hynny, yr oedd efe cyn bod amser yn teimlo awydd angerddol i weled eraill yn cyfrannogi o'i gyflawnder ef. O wir awydd i roddi y creödd efe'r cyfanfyd. Nid ŵyf yn anghofio fod y Beibl yn dyweyd mai i'w ogoniant ei hun y gwnaeth Duw bob peth, ond y mae yr un llyfr yn dangos hefyd mai trwy amlygu ei ddaioni y gall Duw amlygu ei ogoniant. Nid ŵyf fi yn credu fod y greadigaeth mewn un ffurf yn bod eriôed; er hynny, ni allaf synio am amser pan nad oedd y bydoedd hyn neu ryw fydoedd eraill yn bod, a phan nad oedd rhyw greaduriaid neu gilydd yn mwynhau daioni y Duw Tragwyddol. Yn sicr, ni all neb o honom synio am amser pan nad oedd efe yn ymddigrifo yn y *bwriad* o greu. Yn nistawrwydd dwys tragwyddoldeb, pan nad oedd amser wedi hanfod na dim yn byw ond Duw ei hun, yr oedd efe y pryd hwnnw yn llawenychu *ynghyfaneddle'r* ddaear, a'i hyfrydwch oedd gyd â meibion dynion, cyn eu bod. Fe glywodd waedd bydoedd nad oeddynt etto yn bod—gwaedd gwagder diderfyn yn galw ar lawnder diderfyn. Fe ymgyffrôdd tragwyddoldeb ynddo'i hun, ac a ddywedodd wrth amser "Dechreu," ac wrth fatter "Bydd." Nid yw y greadigaeth yn anfeidrol, y mae'n wir; er hynny, y mae hi yn ddigon mawr i

ddangos fod y Creawdr yn gyfoethog iawn mewn daioni. Y mae efe megis yn afradloni ei dda ar bob rhan o honi. I ba beth y parodd efe i'r adar ganu mewn lleoedd anghyfannedd, ac i'r blodau wascar eu perarogl yn yr anialwch pell? Wn i ddim, os nad i ddangos ei fod yn fwy o ŵr bonheddig na neb. Fe ellid meddwl ddarfod iddo greu *llaweroedd* o greaduriaid yn unig er mwyn dangos fod ganddo ddigon o fodd i'w cynnal, ac er mwyn cael cyfle i arllwys yr haelioni anfeidrol oedd yn dygyfor ac yn bwrlymmu yn ei fynwes. Da yw Duw i bawb, a'i ddaioni tuag at bawb a phob peth sy'n ei gynnhyrfu i fod yn drugarog wrth y truan. Y mae efe yn gyfoethog o drugaredd am ei fod yn gyfoethog o ddaioni. A ydyw dy drueni yn fawr? Y mae trugaredd Duw yn fwy—yn gymmaint mwy ag yw Duw na thithau. A gynnyddodd dy bechod yn ddirfawr? Lle yr amlhaodd pechod y rhagor amlhaodd gras. Ac y mae gan Dduw fwy o ras yn ystôr nag sy ganddo yn ei ffenestr. Rhaid iddo ef wrth oesoedd lawer i arddangos ei holl gyfoeth:—"Fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a ddeuai—yn yr oesoedd a ddaw, ragorol olud ei ras." Ac y mae y golud hwn yn rhagorol nid yn unig o ran ei faint, ond hefyd o ran ei amrywiaeth. "Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant"—neu yn fanylach, trugareddau a maddeuannau—maddeuant ar faddeuant, trugaredd ar drugaredd—llawer math o faddeuant ar gyfer llawer math o fai—llawer math o drugaredd ar gyfer llawer math o drueni—hên drugareddau ar gyfer hên bechodau—maddeuant newydd ar gyfer trosedd newydd. "Y neb a ymffrostio, ymffrostied yn hyn, ei fod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna drugaredd yn y ddaear."

Fy nghydbechadur tlawd, yr wyt tithau hyd yn hyn ar y ddaear. A gaiff yr Arglwydd wneuthur trugaredd â

thi? Fe ddywedodd Dafydd ryw ddiwrnod, "A oes etto un wedi ei adael o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd âg ef er mwyn Jonathan?" Y mae Duw yr un ffunud yn gofyn heddyw, "A oes etto un o deulu'r codwm wedi ei adael heb ei achub, fel y gwnelwyf drugaredd âg ef er mwyn fy Mab?" Y mae Duw yn ewyllysio rhoddi, ac ymdeimlad o angen ydyw yr unig gymmwysder i dderbyn o'i gyfoeth anfeidrol ef.

Chwychwi sy'n ymffrostio eich bod yn adnabod yr Arglwydd, yr hwn a wna farn a chyfiawnder a thrugaredd yn y ddaear, ystyriwch ei fod ef yn ymhyfrydu yn y pethau hyn, ac y dylech chwithau, er mwyn bod yn debyg i'ch Arglwydd, ymhyfrydu mewn gwneuthur yr un pethau.

*Mehefin 4ydd, 1896.*

## V.

## LLWYDDIANT YSPRYDOL.*

"*Byddaf fel gwlith i Israel: efe a flodeua fel y lili, ac a leda ei wraidd megis Libanus. Ei geingciau a gerddant, a bydd ei degwch fel yr olew-wydden, a'i arogl fel Libanus.*"—HOSEA xiv. 5, 6.

YN y bennod hon ni a gawn yn Israel ddarlun o ddŷn syrthiedig, o ddŷn gwrthgiliedig, ac o ddŷn adferedig. Y mae Duw ynddi yn cymhell y pechadur i ddychwelyd, fel ag i gael derbyniad, yna y mae yn dangos yr hyn a fydd ef i Israel ar ol rhoddi derbyniad iddo, ynghyd a'r hyn a fydd Israel ei hun, a'r hyn a fydd efe i eraill mewn canlyniad i hynny. Gan hynny y mae yn debyg mai y syniad cyffredinol a gyflwynir i'n sylw gan y testyn ydyw llwyddiant ysprydol y duwiol pan yn mwynhau ffafr ei Dduw. Byddaf fel gwlith i Israel—dyna'r achos; a'r effaith fydd, efe a flodeua fel y lili. Ond wrth edrych yn fanylach ar y modd y mae y proffwyd yn newid ei gymhariaethau yn ngwahanol frawddegau y testyn, y mae yn ddiameu ei fod yn bwriadu cyflwyno i'n sylw, nid yn unig y darlun cyffredinol o sant llwyddianus, ond hefyd y gwahanol elfenau sydd yn cyfansoddi cymeriad y cyfryw un. Yr elfen gyntaf a nodir yn nghymeriad y dŷn a'r Cristion cyflawn ydyw tynerwch a lledneisrwydd—"Efe a *flodeua* fel y"—neu yn hytrach fel ar ymyl y ddalen, "Efe a dardda fel y lili." Yr ail nodwedd ydyw cadernid neu sefydlogrwydd—"Efe a leda ei wraidd

* Un, ydyw hon, o bregethau cyfnod cyntaf ei weinidogaeth gyhoeddus, cyn dyfod ei arddull a'i orgraff i'w llawn dwf.

megis Libanus." Y trydydd ydyw yni a nerth cynyddol—"Ei geingciau a gerddant." Y pedwerydd ydyw prydferthwch (moesol)—"Bydd ei degwch fel yr olew-wydden." Y pummed ydyw dylanwad da—"Bydd ei arogl fel Libanus."

Ond yr elfen gyntaf a enwyd ydyw, tynerwch a lledneisrwydd—"Efe a dardda fel y lili." Wrth ystyried y lili fel yn gosod allan lwyddiant y duwiol, y modd y tardd sydd fwyaf amlwg yn y gymhariaeth; ond wrth edrych arno fel arwyddlun o gymeriad y Cristion, ei natur pan yn tarddu ddaw fwyaf i'r golwg ynddi. Ni chyfeirir yma o gwbl at brydferthwch ei blodeuyn, ond at y modd y tardda. Caiff yr olew-wydden osod allan brydferthwch cymmeriad y duwiol y tro hwn, a chaiff y lili fod yn arwyddlun o'i yspryd ieuangaidd a thyner. Y mae y tyner a'r ieuangc bob amser yn gyssylltiedig â'u gilydd. "Fy mab Solomon," meddai Dafydd ddwywaith, "sydd ieuangc a thyner." Dyna hefyd a ddylai fod ansawdd yspryd y dŷn duwiol—ieuangc a thyner.

Tyneru yr yspryd anhunanol, tynu y galon gareg a rhoddi yn ei lle galon dyner o gig ydyw triniaeth gyntaf yr Yspryd Glân at bechadur dychweledig. Y mae y dŷn oedd o'r blaen mor gàlon galed a Pharaoh yn awr mor addfwyn a Moses. Yn awr y mae arno gymmaint o ofn tramgwyddo ei Dduw ag sydd arno ofn myned i uffern. Y mae ei gàlon yn gwaedu wrth weled ei ddeddfau yn cael eu sarhau. Wrth siarad yn wawdlyd am y Beibl yma yr ydych yn cyffwrdd â chanwyll ei lygaid, ac y mae y tynerwch yna yn cael ei arddangos yn yr un modd tuag at ei gyd-ddynion. Y mae yn gweled mai ar dynerwch ei Dad sydd yn y nefoedd y mae pawb yn byw, mai defaid ei borfa ydynt oll; ei fod ef yn gwlawio ar y duwiol a'r

annuwiol, ac y mae yn teimlo cymhelliadau cryfach fyth i arfer tynerwch tuag at y saint sydd yNghrist Iesu, canys onid brodyr ydynt hwy oll wedi eu geni o'r un Duw, trwy yr un yspryd, ac wedi eu prynu â phriod waed Crist, ac onid yw yn gweled yNghrist y siampl uchaf o dynerwch? Dyna ef o gariad at ddŷn yn dyfod i'r byd er mwyn dwyn arno ei hun ei anwiredd, a dioddef cospedigaeth ei heddwch. Yn lle ei dderbyn dyna y dŷn ar unwaith yn troi yn erbyn ei gymwynaswr, y mae yn ei sarhau, ei ammharchu a'i faeddu; ond a ddarfu i'r driniaeth yna newid ei yspryd fel ag i beri iddo yn ei ddig daflu ein hachos i fyny, a gwneyd defnydd o'i allu dwyfol i fwrw ei elynion anniolchgar i'r llawr? Naddo, canys pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn, pan ddioddefodd ni fygythiodd. Tra yn cadw i fyny ei urddas pan o flaen y fainc ni chollodd y pryd hwnw ei ledneisrwydd; ymostyngodd i gymmeryd ei farnu gan Pontius Pilat. Pan yn rhodio oddi amgylch, rhodiai gan wneuthur daioni. Porthai y miloedd, ond dioddefai newyn ei hunan. Cymysgai ei ddagrau â dagrau Mair a Martha wrth fedd eu brawd; ac yn lle melldithio y ddinas y bu farw wrthi, wylodd drosti; ac yr oedd efe yn dangos y tynerwch yna am ei fod yn teimlo felly. Nid dynwared ffugio yr oedd efe. Y mae perygl i ni fod yn euog o hynny—rhyw edrych yn dyner a siarad yn dyner, yn unig er mwyn ennill serch ein cyd-ddynion, yn lle meithrin ynom ein hunain yspryd addfwyn, a bod fel Crist yn addfwyn a gostyngedig o gàlon. Gallwn fod yn sicr mai rhyw ddybenion isel a hunanol fydd wrth wraidd y teimlad celfyddydol yna. O'r ddau y mae y dŷn sarug unplyg yn well na'r dŷn siriol dau-wynebog—hwn ydyw y gelyn mwyaf peryglus; os bydd arnoch eisiau cael golwg arno edrychwch am dano nid o'ch blaen, ond o'ch ol, (canys) cynllwynwr ydyw, nid gelyn agored. Cafodd Dafydd olwg

arno unwaith, ac meddai am dano, "Llyfnach oedd ei enau nag ymenyn, a rhyfel yn ei gàlon, tynerach oedd ei eiriau nag olew, a hwynt yn gleddyfau noethion." Ond y mae ambell i ddŷn ag y mae ei gàlon yn well na'i wyneb, ambell i ddŷn, cofier, oblegid y mae llawer yn defnyddio hyn fel hûg dros ryw fwriad a fyddo gwaeth. Pan ddywedant rywbeth gyda bwriad i archolli y teimlad, priodolant hynny i'w gonestrwydd. Ond rhagorach na'r ddau yna ydyw yr un sydd yn dyner o gàlon, ac ar dafod, yn addfwyn o ran yspryd ac ymddygiad. Ond, medd rhywun, y mae rhai mor naturiol gynhennus a phe baent wedi eu geni yn Ismaeliaid. Wel, fe all yr efengyl droi rhai fel yna; gall Duw ddadwneyd pechadur a'i ail wneyd drachefn yn ddŷn perffaith ar ddelw yr hwn a'i crëodd. Israel sydd bren crin—y mae eisoes wedi colli pob ireidd-dra—y mae wedi marw i bob teimladau tyner. Nid yw o un gwahaniaeth, medd Duw, gallaf fi droi y pren crin mor dyner â'r blaguryn îr. Wel pa fodd? "Byddaf fel gwlith i Israel; *am hyny*, efe a dardd fel y lili.

Y mae teimlad tyner yn cael ei gydnabod fel un o rinweddau prydferthaf y natur ddynol. Y mae yn cuddio lluaws o ddiffygion. Gwell genym hebgor pob rhagor-iaeth na hwn. Y mae amddifadrwydd o honno yn cael ei ystyried yn beth annynol ac annaturiol. Ond oni sancteiddier ef â gras, nid yw tynerwch naturiol uwch law cael ei ddileu gan amgylchiadau. Mynych y gwiriwyd y geiriau hyny o eiddo Duw:—"Y wraig dyner a'r foethus yn dy fysg a greulona ei llygad wrth ŵr ei mynwes, ac wrth ei mab, ac wrth ei merch, canys hi a'u bwytty hwynt yn ddirgel pan ballo pob dim arall yn y gwarchae ac yn y cyfyngdra." Ond dyma beth ag y mae y Beibl yn ei ystyr-ied yn llawn mwy annaturiol na hynyna—aelodau o eglwys Crist yn dal cenfigen chwerw, ac ymryson yn eu

calonau. Beth a ddywed Iago am grefydd rhai fel hyn:—"Nid yw y ddoethineb hon yn disgyn oddi uchod, ond daearol, anianol, cythreulig yw." Pe rhywun heb law apostol a arferasai iaith fel yna, cyhuddasid ef o siarad yn eithafol. Wel, os nad honyna yw y ddoethineb nefol, beth ydyw ynte? Y ddoethineb sydd oddi uchod yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd, a ffrwythau da. Dyna amcan Cristionogaeth, gwneyd pechadur yn ddŷn, yn ddŷn perffaith—yn foneddwr yn ngwir ystyr y gair. Rhyfedd fel y gall yspryd tyner ddyfeisio ffordd i ddangos ei hun. Dacw Jeremiah wedi ei daflu i'r daeardy oer. Y mae Ethiop o'r enw Ebedmelech yn clywed am hyn, ac ar ol erfyn, yn derbyn caniatâd y brenin i'w godi oddi yno. Y mae Sedeciah yn peri iddo gymeryd deng-ŵr-ar-hugain gydag ef i'w gynnorthwyo, ond gwnaeth dyfais tynerwch Ebedmelech fwy i Jeremiah na 30ain Sedeciah; y mae yn rhedeg i gyrchu hen garpiau a phwdr-fratiau, ac meddai wrth Jeremiah, "Gosod yn awr yr hen garpiau a'r pwdr-fratiau hyn dan dy geseiliau, odditan y rhaffau." Yr oedd ei dynerwch yn ei gymhell nid yn unig i godi Jeremiah, ond i'w godi yn ddiboen. Ni chollodd Ebedmelech ei wobr. Cymerwn ninnau addysg oddi wrth ei ymddygiad fel pan wnelom gymwynas i neb, y gwnelom hynny yn y fath fodd ag na rydd un archoll i'r teimlad o annibyniaeth sydd mewn dŷn. Y mae yn bossibl i ni, trwy ddiffyg ystyriaeth, roddi briw i deimlad trwy wneuthur cymmwynas, yn gystal a thrwy beidio.

Nodwn un enghraifft yn ychwaneg i ddangos tynerwch Crist, a hyny tuag at y creadur direswm; a chyda llaw, gallwn sylwi mai tynerwch at yr anifail ydyw y mwyaf pur mewn rhyw ystyr, yn gymmaint a bod llai o hunangarwch ynglŷn âg ef. Wrth ddangos tynerwch at y

creadur direswm, nid ydym byth yn disgwyl cael ein cydnabod, na'n gwobrwyo ganddo. Pan oedd Crist ar fedr myned i Jerusalem yn y cymeriad o frenin heddwch, gorchmynnodd i ddau o'i ddisgyblion fyned i Bethphage, y tu allan i borth Jerusalem, i gyrchu llwdn asyn fel y marchogai arno i'r ddinas, yn ol y broffwydoliaeth, a gorchymyn iddynt ddwyn yr asen hefyd oedd yn rhwym gyda'r ebol. Wel, beth y mae hynny yn ei ddangos? Dangos y mae nad oedd yr addfwyn Iesu ddim am wneyd yr asen yn amddifad hyd yn oed am ychydig oriau. Er nad yw y broffwydoliaeth yn gofyn ond am y llwdn, etto ni chaiff yr hen asen aros ar ol wrth y pawl accw i ymofidio ac i bryderu ynghylch ei hebol. Caiff y fraint o gymmeryd rhan yn yr orymdaith heb neb yn eistedd arni, yn unig er mwyn iddi gael gweled a barnu drosti ei hun na chaiff ei hebol hi ddim cam gan yr hwn sydd yn marchogaeth arno.

Elfen arall yn nghymeriad y Cristion ydyw *cadernid neu sefydlogrwydd*—"Efe a leda ei wraidd megis Libanus." Y mae hwn yn rhinwedd gwrthgyferbyniol i dynerwch. I wneyd i fyny gymeriad cyflawn dylai y ddau beth hyn gydfod. Dylai tynerwch liniaru ein cadernid, a dylai cadernid reoli ein tynerwch. Mae'n bossibl i dynerwch, er yn dda ynddo ei hun, ein camarwain. Gall dynion diegwyddor, trwy gymmeryd mantais ar y teimlad tyner yna sydd ynnoch, eich denu i werthu eich egwyddorion er mwyn boddio dynion. Nid yw tynerwch ei hunan ddim yn ddigon o fur i wrthsefyll temtasiwn. Yn wir, y mae yn fynych yn gwneyd y dýn a'i medd yn fwy agored i brofedigaeth. Mor fynych y gwelsom enghreifftiau o ieuengctyd, ag oeddynt mor dyner eu teimlad fel na allent ddarllen am bechod heb dristàu, na chyflawni y camwedd lleiaf hyd yn oed yn y

dirgel heb edifarhau yn ddwys o'i herwydd ; etto, mewn awr o brofedigaeth dyna gymmeriad ag a fu am chwarter canrif fel coron hardd ar eu pen, yn cwympo, ac yn myned yn chwilfriw mewn un dydd. Wel, beth oedd yn eisieu i'w cadw rhag syrthio? Cadernid. Mae'n wir fod ganddynt flagur y lili, ond gwraidd y lili oedd iddynt hefyd. Tarddasant fel lili, ond gwreiddiasant fel lili hefyd, ac ni ledasant eu gwraidd megis cedrwydd Libanus. Edrychwn am funud ar briodoldeb y gymhariaeth. Cedrwydden Libanus oedd brenhines y prennau, uchel oedd ei maint, ac uchel oedd ei phreswyl. Ei hiaith hi ydoedd, "Dyrchafaf fy mrig i'r nefoedd, dywedaf byddaf fyw byth, ni'm syflir yn dragywydd. Cured y tymhestloedd arnaf, etto ni'm hysgogir. Gwnewch eich gwaethaf, nis gellwch ond dinystrio fy mrigau ; y mae fy ngwraidd o gyrraedd eich dylanwad, y maent wedi ymwthio i bob agen, ac wedi ymwau trwy y mynydd fel y byddai raid i chwi ei ddadymchwel ef i'm dadymchwelyd inau. A phe baech chwithau y cymmylau yn gwrthod gwlawio arnaf, a Duw yn rhwymo eich godreu am flynyddoedd fel yn amser Ahab, etto ni wywwn. Feallai na byddai fy nail mor wyrddion, ond fe allwn i dori'm syched gyda'm gwraidd. Nid yw fy ngwraidd i erioed wedi arfer dibynnu ar yr ychydig wlaw a allwch chwi ei roddi imi ; y maent hwy yn cyrchu dwfr i mi o grombil y mynydd." Felly y duwiol, gan fod ei wraidd ef yn Nuw, a chan ei fod yn derbyn ei fywyd o Dduw, siglir mohono byth gan amgylchiadau. Fe all ei ddalen wywo gan y sychder, fe all ei gangen grynu yn nghynddaredd y dymhestl, ond am ei wreiddyn—egwyddor ei fywyd—siglir mohono byth. Ei gadarnhau yn hytrach na'i fwrw i lawr y mae stormydd y byd. Gwreiddyn da yn unig a'n ceidw i fyny ynghanol yr ymosodiadau sydd arnom o bob cyfeiriad yn y byd yma.

Na phwyswn ar unrhyw attegion allanol. Fe all ambell lysieuyn a chanddo ond gwreiddyn bychan dyfu i uchder mawr wrth bawl, ond tynnwch y pawl ymaith dyna'r llysieuyn yn syrthio i'r llawr. Dywed y Beibl i Joas wneyd yr hyn oedd uniawn yngolwg yr Arglwydd holl ddyddiau Jehoiadah; ond pan fu farw Jehoiadah, wele'r pren teg yn cwympo gydag ef byth i godi mwy. Profodd yr amgylchiad nad oedd i Joas ond gwreiddyn gwan, ac mai dylanwad Jehoiadah a'i cynnaliodd i fyny cyhyd. Edrychwn ninnau mewn pryd ar ein bod wedi ein gwreiddio yn dda, rhag mai dylanwad rhieni neu gyfeillion duwiol ydyw yr attegion sydd yn ein dal i fyny rhag syrthio i brofedigaeth, ac i ninnau gael allan pan symmuder hwynt ymaith ein bod yn rhy weiniaid i wrthsefyll gwynt gwrthwynebus.

Nodwedd arall yn nghymeriad y Cristion ydyw *yni neu rym.* Ei geinciau a gerddant neu a ymwasgarant. Y prawf goreu o fod gwraidd y pren yn ymledu ydyw fod ei geinciau yn ymwasgaru, ac yn parhau i ymwasgaru. Y modd i'r crefyddwr wybod a ydyw wedi gwreiddio ydyw trwy gael allan a ydyw yn cynnyddu, ac yn cynnyddu gyda nerth. Y mae yr elfen dan sylw yn wahanol i'r llall—gallu i sefyll ydyw cadernid, gallu i symmud ydyw nerth; gallu goddefol yw y naill, gallu gweithredol ydyw y llall; gallu amddiffynol ydyw cadernid, gallu ymosodol ydyw nerth. Y mae'r ddau yn angenrheidiol i wneyd milwr da i Iesu Grist; ond y mae y ffugyr sydd yn y frawddeg yma yn golygu nid nerth yn unig, ond nerth cynnyddol—rhyw ynni anorchfygol ag sydd yn cynhyrfu y dŷn i fyned rhagddo yn barhaus. Y rhai a hoffant yr Arglwydd sydd fel yr haul yn myned rhagddo yn ei rym. Hwyrach fod crefyddwyr y dyddiau hyn yn fwy diffygiol yn y nodwedd hwn nag mewn un arall; rhyw farweidd-

dra sydd wedi syrthio ar y mwyafrif. Er na bu y byd erioed yn myned rhagddo yn gyflymmach, ac er na bu masnachwyr erioed mor anturiaethus ag ydynt yn awr, etto yn ei rhannau ysprydol tueddu i sefyll yn yr un man y mae yr eglwys. Y mae fel pe wedi myned i dybied nad oes angen am egni gyda chrefydd. Dyna y masnachwr ag sydd yn fywyd i gyd yn y siop mor farwaidd ag undyn yn yr addoldy; ond yr un ydyw elfenau llwyddiant crefyddol a llwyddiant masnachol. Y dyddiau hyn y rhai sydd yn anturio fwyaf ydynt y rhai mwyaf llwyddiannus. I lwyddo gyda chrefydd y mae yn rhaid i ni fod yn anturiaethus. Rhai fel yna oedd yr hen dduwiolion enwog, a dyma beth sydd yn ddymunol i ddyweyd am danynt; ni fethodd neb o honynt yn eu hanturiaethau, os byddai ganddynt fesur lled helaeth o ffydd. Dacw Abram yn gadael ei dŷ a'i wlad, ar alwad Duw, gan fyned na wyddai i ba le, ac yn trigo mewn pebyll, am ei fod yn discwyl cael eu newid rywbryd am ddinas ag iddi sylfaeni. Dacw Moses wrth edrych ar daledigaeth y gwobrwy yn barnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aifft. Cyfrifai Paul bob peth yn golled ac yn dom fel yr ennillai Grist. Rhai anturiaethus fel yna oedd yn llwyddo. Ymdebygwn ninnau iddynt. Taflwn geinciau newyddion i bob cyfeiriad, fel y byddo ein cynnydd yn eglur i bawb. Awn rhagom at berffeithrwydd. Cyrchwn at y nôd. Da yw fod gennym falasarn i'n cadw yn sefydlog fel na'n tafler gan y gwynt a chan y tonau, ond rhaid ini ynghyda hynny feddu ager neu hwyliau, onidê ni chyrhaeddwn ni byth mo'r hafan ddymunol. Nid digon yw amddiffyn o honom ein tiriogaeth ein hunain yn erbyn rhuthriadau ein gelynion, rhaid ini hefyd fyned allan yn eu herbyn i'r dyben o ennill tir newydd. Rhaid ein bod nid yn unig yn gadarn i ddal grym y corwynt, (ond) rhaid ini hefyd wasgar ein canghenau, onidê nis gellir dyweyd y bydd i'r

rhai a arhosant dan ein cysgod ddychwelyd. Y mae llwyddiant y pren yn profi iechyd y pren, a'i iechyd drachefn yn profi fod ynddo fywyd. Mewn bywyd y mae yni; mewn bywyd y mae nerth; am hynny, ai byw ac iach ein heneidiau? "Yr ydwyf yn dymuno yn bennaf dim," medd Ioan wrth Gaius, "dy fod yn llwyddo ac yn iach, fel y mae dy enaid yn llwyddo." Pe na buasai Gaius yn well crefyddwr nag yw y rhan fwyaf ohonom, mwy priodol fuasai i Ioan ddymuno i'w enaid fod yn debyg i'w gorff nag i'w gorff fod yn debyg i'w enaid. Pe bai gradd ein hiechyd a'n llwyddiant bydol yn cyfateb i lwyddiant yr enaid, pa nifer o bobl iach a chyfoethog a fyddai yn ein plith, tybed?

Elfen arall yn nghymeriad y Cristion cyflawn ydyw *prydferthwch.* "Bydd ei degwch fel yr olew-wydden." Gan y Groegiaid fe gyfrifid yr olew-wydden y blaenaf o'r holl brenau, ac yn wir fe'i hystyrir felly yn Llyfr y Barnwyr. Heblaw ei fod yn bren dymunol yr olwg arno, yr oedd hefyd yn bren ffrwythlon iawn, ac felly o ddefnydd mawr i ddŷn. Bwytteid ei ffrwythau yn îr, neu ynte gwesgid hwynt fel ag i gael allan yr olew a'r gwahanol fathau o sûg a gynwysent. Defnyddid yr olew hwn drachefn, un ai fel ymborth neu fel enaint, neu ynte i losgi mewn llusernau. Mae yn fwy na thebyg gan hynny fod y gair "tegwch" yn yr adnod yn cyfeirio yn fwy arbenig at yr hyn ydoedd yr olew-wydden yn llawn ffrwyth, a bod ei thegwch felly yn cymmeryd i mewn yr elfen o ffrwythlondeb neu ddefnyddioldeb. "Olew-wydden ddeiliog deg o ffrwyth prydferth," meddai Jeremiah, "y galwodd yr Arglwydd dydi." Gwir ei bod yn deg yn ei dail, ond pan yn llwythog o ffrwyth y gwelid hi yn ei gogoniant. Yr oedd yn brydferth yn ei blodau, ond yr oedd y lili yn tra rhagori arni ym mhrydferthwch ei

flodeuyn; os felly ynte, paham na ddywedasai y proffwyd am y duwiol y byddai ei degwch fel y lili? Wel, am nad oedd ei flodau ef yn cael eu dilyn gan ffrwyth. Prydferthwch blodau yn unig ydyw prydferthwch y lili, ond prydferthwch ffrwyth ydyw prydferthwch yr olewwydden, ac felly nid yw prydferthwch y lili ond diddefnydd o'i gymharu â phrydferthwch yr olew-wydden. Ni a welwn oddi wrth hyn mai yr un peth ag sydd yn gwneyd yr olew-wydden yn brydferth sydd yn ei gwneyd hefyd yn ddefnyddiol, ac yn wir, nid yw y prydferth a'r defnyddiol i'w hysgaru mewn crefydd mwy nag mewn natur. Y mae y Beibl yn dangos fod prydferthwch y credadyn yn gynnwysedig mewn defnyddioldeb—mewn dwyn ffrwyth, yn gystal ag mewn sancteiddrwydd. A pha beth a pha fath yw y ffrwyth a gynnyrchir gan yspryd Duw yn enaid pechadur? "Ffrwyth yr yspryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." Y mae y rhai hyn oll fel cynnifer o olifaid neu aeron teg yn prydferthu y credadyn oddifewn ac oddiallan. Ffrwyth neu weithredoedd y cyfiawn sydd megis pren y bywyd; y mae nid yn unig yn deg mewn golwg, ond y mae hefyd yn rhoddi bendith i'r byd. Am hynny, os dymunwn fod yn ogoniant i Dduw ac o lês i ddynion, dygwn ffrwyth lawer. Y dŷn ffrwythlon ydyw'r dŷn hardd; y bachgen defnyddiol ydyw'r bachgen prydferth. Ond yr hyn a feddylir yn fwyaf cyffredin yn y Beibl wrth degwch neu brydferthwch moesol ydyw sancteiddrwydd, ond y mae hyn yn dyfod i'r un peth a'r hyn a ddywedwyd ynglŷn â gweithredoedd da, o herwydd sancteiddrwydd sydd yn gosod prydferthwch ar y gweithredoedd. Y rheswm paham y mae gweithredoedd y dŷn duwiol yn brydferth ac yn gymmeradwy yn ngolwg Duw ydyw ei fod i raddau yn ddŷn sanctaidd, am hynny y mae y Beibl yn golygu ffrwyth y dŷn duwiol nid

yn unig yn rasau a gweithredoedd yr yspryd, ond hefyd yn sancteiddrwydd. "Y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd," meddai Paul. Dyma yr holl ffrwyth, meddai Esaiah am Jacob—tynu ymaith ei bechod. Pechod sydd wedi hagru'r ddynoliaeth—efe a dywyllodd yr aur, ac a newidiodd yr aur coeth da, ond Duw a'i coetha eto, mor ddysglaer fel y bydd ei ddelw ei hun yn cael ei hadlewyrchu ynddo. Y mae yspryd Duw yn awr yn eistedd wrth ei swydd fel purwr a glanhawr arian, ac yn gofyn i bob un ohonom yn bersonol, "A fyni di dy wneuthur yn lân?" Y mae ein tynged dragwyddol yn dibynu ar ein hatebiad i'r gofyniad yna. Gesyd rhai bwys mawr ar lendid corff, a chymmerant cryn drafferth i'w brydferthu, ac y mae yn ddïau fod hynny yn gyfreithlon o fewn terfynau priodol, ond y perygl ydyw ein bod yn prydferthu corff sydd yn llety i enaid aflan, ac felly ond yn gwyngalchu bedd sydd oddimewn yn llawn o esgyrn meirwon. Y mae mwy o werth mewn enaid nag mewn corff, ac am hynny y mae prydferthu enaid o fwy pwys na phrydferthu y corff. Nid yw o fawr wahaniaeth sut gorff fydd gan ddŷn, oherwydd ni raid iddo wrtho yn ei ystâd bresenol ond am fŷr amser. Y mae geiriau Job yn wir am yr hardd a'r hagr:—"Hwy a orweddant ynghyd yn y pridd, a'r pryfed a'u gorchuddia hwynt ill dau." Nid yw corff y prydferthaf yn ddigon prydferth i fyned i'r nefoedd fel y mae, a gall y credadyn anolygus gymeryd cysur wrth feddwl y cyfnewidir ei gorff gwael ef i'r un ffurf a'i gorff gogoneddus ef. Ond y mae o bwys tragywyddol fod yr enaid yn lân yn y byd hwn, onidê ar drothwy y byd tragywyddol dedfryd y Barnwr fydd:—"Yr hwn sydd frwnt, bydded frwnt etto." Prydferthwch sancteiddrwydd ydyw yr unig brydferthwch sydd yn ennill sylw a chymeradwyaeth y nefoedd. Dŷn a edrych ar y golygiad, ond Duw a edrych ar y gàlon—ar yr enaid; ac yn wir, y

ffordd oreu i brydferthu y corff yn y byd yma ydyw cael enaid prydferth o'i fewn o yn more oes. Y mae yr enaid yn rhoddi ei ddelw ar y corff i fesur helaeth. "Doethineb gŵr a lewyrcha ei wyneb," medd Solomon, "a nerth ei wyneb a newidir." Càlon lawen a wna wyneb siriol. Y mae doethineb, ac yspryd hynaws a chrefyddol yn rhoddi mynegiad da i'r wyneb, ac yn argraffu rhyw ddymunoldeb ar wedd personau sydd yn naturiol afluniaidd. Er gwaethaf rhagrith a phob ymgais ar ran y dŷn diegwyddor i guddio ei dueddiadau drygionus, fe fỳn yr enaid ymwthio i'r wyneb, ond y mae y Beibl yn dangos iddo pa fodd y gall hebgor y drafferth yna. Ni raid iddo ond edrych ar brydferthwch yr Arglwydd nad aiff yntau yn brydferth, heb un ymgais. Fe'i newidir i'r unrhyw ddelw o ogoniant i ogoniant. Ond gwnawn ni a fynom fe gyll y corff ei brydferthwch gan amlder a thraul blynyddoedd. Y mae desgrifiad Jeremiah o'r Iuddewon yn adeg cymeriad Jerusalem yn wir yn eu cysylltiad â dynion ymhob oes:—"Ddoe, gwynach oeddynt na'r llaeth, gwridocach oeddynt o gorff na'r cwrel, a'u trwsiad oedd o saphir." Erbyn heddyw, "Duach yw y golwg arnynt na'r gloyn, eu croen a lŷn wrth eu hesgyrn, gwywodd, aeth yn debyg i bren." Ond fe fydd y bywyd ysprydol yn addfedu i degwch a ffrwythlondeb, dan yr un oruchwyliaeth ag y mae y bywyd naturiol yn gwywo ac yn llygru. Fel y bydd tegwch y dŷn oddiallan yn cilio ymaith, fe fydd gwir gymeriad y dŷn oddimewn yn llewyrchu fwy-fwy i'r golwg. Ond arwyddair Duw ydyw "enaid glân mewn corff glân." Ei gynllun mawr ef ydyw adnewyddu y ddau, ac yn nydd yr adgyfodiad fe gyflawnir y cynllun. Trwy sancteiddiad yr yspryd a phuredigaeth y bedd cymhwysir y corff yntau i fod yn dŷ ysprydol teilwng i ddal enaid perffeithiedig. Y pryd hwnnw bydd Crist yn eich cyflwyno gorff ac enaid yn sanctaidd ac yn ddifeius i

Dduw. Canys heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd. Er y dywedir fod Esther yn llances deg yr olwg, eto ni chadd fyned ger bron y brenin yn y cymeriad o frenhines cyn cael o honi ei phuro am ddeuddeng mis mewn olew myr a pheraroglau. Felly hefyd ni chaiff y tecaf sydd yma fyned i wyddfod y brenin oni bydd yn arogli gan arogl sancteiddrwydd, ac ni bydd yr eglwys fel corff ychwaith yn deilwng o fod yn wraig (briodasferch) i'r Oen heb gyflawni dyddiau ei phuredigaeth.

Y nodwedd olaf a nodir yn nghymeriad y Cristion ydyw y *dylanwad bendithiol* sydd iddo. "A bydd ei arogl fel Libanus." Y mae hyn yn dilyn oddiwrth y nodweddion eraill a enwyd. Y mae y gymhariaeth hon ychydig yn wahanol i'r un sydd yn y 7fed adnod, sef yw hono, "Bydd ei goffadwriaeth neu ei arogl fel gwin Libanus." Cyfeirio y mae hon yna at y gwin a geid oddi ar y gwinwydd a dyfent ar ystlysau Libanus. Y mae y gymhariaeth sydd yn y testyn yn fwy ëang, ac yn cyfeirio at yr arogl a godai oddiar bob math o brenau a llysiau a dyfent ar y mynydd, er yn fwy arbenig hwyrach at arogl y cedrwydd. Y mae cymhariaeth gyffelyb i hon yn y *Caniadau*. "Arogl dy wisgoedd," meddai y brenin wrth ei anwylyd, "sydd fel arogl Libanus." Fel y mae pryd-ferthwch y blodau a'r ffrwyth yn arwyddlun o sancteidd-rwydd, felly hefyd y mae y perarogl a gyfyd oddiar y ffrwythau a'r blodeu hyny yn golygu dylanwad y sanct-eiddrwydd hwnw ar eraill, ac fe fydd y dylanwad hwn yn aros ynglŷn â chymeriad y Cristion nid yn unig tra fyddo byw, ond hefyd wedi iddo farw. Yn ei angeu bydd ei gymeriad neu ei enw yn cael ei drosglwyddo i'w goffadwr-iaeth, ac felly bydd y dylanwad oedd gynt ynglŷn â'i berson, yn ymlynu bellach wrth ei goffadwriaeth, ac am hyny y dywedir y bydd coffadwriaeth y cyfiawn yn

fendigedig, ac hefyd fel gwin Libanus; ac yn wir, bydd dylanwad ei gymeriad yn fwy wedi iddo farw na phan y mae yn fyw. Y mae y gedrwydden yn arogli mwy wedi ei thori i lawr, na phan yn sefyll, am fod yr olew y pryd hwnw yn rhedeg allan o'r toriad. Yr un modd hefyd pan dorir ymaith y duwiol gan angeu bydd ei enw yn myned yn fwy peraroglaidd o hyd. Fe'i perchid ac fe'i cerid yn ei fywyd, ond bydd y cariad hwnw yn awr yn cuddio lluaws o bechodau, ac yn claddu ei holl wendidau gyda'i gorff, fel na bydd yn aros odid ddim yn ei gymeriad ond ag sydd bur a phrydferth. Megis y diflana'r tywyllwch o flaen yr haul, felly y diflana ei feiau yntau yn awr o flaen ei rinweddau. Bydd ei ddywediadau a'i gynghorion, y rhai a wrandawyd unwaith yn ddigon didaro, yn awr yn dyfod yn ol i feddwl y rhai a'i clywsant gyda nerth ac effaith rhyfeddol. Bydd dylanwad ei weithredoedd neillduol drachefn yn fwy na'i eiriau, ond yr adgofion am ei yspryd a'i fywyd ymroddgar a gânt y dylanwad cryfaf. Daw yr adgofion hyn arnom fel awelon yn llwythog o berarogl i'n hadnewyddu a'n calonogi. Pan ymwisgodd Jacob yn nillad ei frawd Esau, er mwyn twyllo ei dad dall, aroglodd Isaac ei wisgoedd ef, a dywedodd, "Wele arogl fy mab fel arogl maes yr hwn a fendithiodd yr Arglwydd." Gan mai yn y maesydd yr oedd Esau yn treulio ei amser, yr oedd arogl y pethau hyfryd a dyfent arnynt ar ei wisgoedd. Cymdeithaswn ninnau o ran ein meddwl ag ysprydoedd y cyfiawn y rhai a adwaenem gynt yn y cnawd, ac yna bydd arogl eu sancteiddrwydd hwy ar ein hyspryd ninnau. Nis gall eu geiriau, eu gweithredoedd, eu hyspryd byth farw—y maent yn wastadol gyda ni i'n dysgu pa fodd i fyw. Ac os dymunem eu hanrhydeddu, y ffordd oreu i wneyd hyny ydyw nid trwy alaru ar eu hol, ond trwy fyfyrio ar eu rhinweddau, nid yn gymaint trwy eu canmol a thrwy eu hefelychu, a'u

hefelychu fel yr awgrymwn nid yn gymaint yn eu gwaith neillduol, ag yn yr yspryd a'u cymhellai i gyflawni y gweithredoedd da hyny. Nid y weithred ei hun, ond y cymhelliad iddi sydd yn ei gwneuthur yn beraroglaidd ac yn arfarwol. Y mae yr enaint â'r hwn yr irodd y bechadures o Nain draed yr Iesu, wedi colli ei arogl er's talm, ond y mae dylanwad y cariad a'i cymhellodd hi i ddefnyddio ei dagrau yn lle dwfr, a gwallt ei phen yn lle tywel, heb ddarfod eto. Y mae yn berarogl tragywyddol yn y nefoedd a'r ddaear. Pan y torodd Mair o Bethania y blwch o enaint gwlyb ar ben ei Harglwydd, fe wnaeth ei henw mor anfarwol ac mor adnabyddus a'r efengyl, fel rywfodd nad yw yr efengyl yn gyfan heb hanes Mair a'i gweithred dda. "Yn wir meddaf i chwi," medd Crist, "pa le bynag y pregethir yr efengyl hon, yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon hefyd a adroddir, er coffa am dani."

Ond yn mysg y cyfiawnion i gyd, nid oes neb ag y mae ei goffadwriaeth mor fendigedig a choffadwriaeth "y Cyfiawn hwnw," yr hwn y nos y bradychwyd ef a adawodd (roddodd) i ni y gorchymyn syml ond effeithiol hwnw, "Gwnewch hyn er coffa am danaf;" ac os cedwi di ei goffadwriaeth ef mewn bri, fe ofala yntau na cholli dithau mo'th enw da, ond y parha efe i arogli yn well na'r enaint gwerthfawr; ond y mae rhyw garictor yn bod nad yw Duw wedi addaw gofalu am ei goffadwriaeth ef. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig? ond enw y drygionus a *bydra*;" nid yn unig fe dderfydd ei enw, ond fe dderfydd trwy *bydru*. Bydd mor atgas a drewedig fel na bydd yn gymhwys i ddim, ond i'w gladdu mewn anghof. Wel, yr ydym ninnau oll yn ffurfio i ni ein hunain gymeriad ag y mae ac y bydd ei sawyr yn puro neu yn llygru yr awyr o'n deutu. Nid oes genym un syniad am nerth ac ëangder ein dylanwad ar ein cyd-ddynion. Fe

ŵyr rhai o honoch am y llysieuyn hwnw a elwir y planigyn byw *(sensitive plant)*, ei fod yn cau ei ddail ac yn gollwng ei frigau pan gyffyrddir ag ef, fel pe bai greadur synwyrol. Dywedir fod meusydd cyfan ohono yn yr America, fel na raid i aderyn ond disgyn ar dusw ohono, na bydd y cynhyrfiad a roddodd i hwnw yn ymdaenu yn raddol tros yr holl lain. Nid yw hyn ond cysgod o'r dylanwad helaeth a gâ un gair, neu un weithred o'r eiddom, er y gallwn hwyrach fod mor anymwybodol o hyny ar y pryd a'r aderyn, pan yn disgyn ar y llysieuyn.

Yn awr, y ffordd i gyraedd y pumed peth hwn ydyw trwy feddu ar y pedwar peth blaenorol. Byddwn gan hyny yn dyner ond nid yn farw, yn gadarn ond nid yn gyndyn, yn egnïol ond nid yn hŷf, yn brydferth ond nid yn ddiddefnydd. "Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau bynnag sydd wir, pa bethau bynnag *sydd* onest, pa bethau bynnag *sydd* gyfiawn, pa bethau bynnag *sydd* bur, pa bethau bynnag *sydd* hawddgar, pa bethau bynnag *sydd* ganmoladwy, od *oes* un rhinwedd, od *oes* dim clod, meddyliwch am y pethau hyn."

VI.

## Y DDAU ORPHWYSDRA.

"*Deuwch attaf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch gennyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon: a chwi a gewch orphwysdra i'ch heneidiau; canys fy iau sydd esmwyth, a'm baich sydd yscafn.*"—MATTHEW xi. 28, 29, 30.

FEL hyn y mae y prif ymadroddion yn ol y Saesneg:—"Come unto me, all *ye* that labour and are heavy laden, and I will give you rest. Take my yoke upon you, and learn of me; for I am meek and lowly in heart: and ye shall find rest unto your souls. For my yoke *is* easy, and my burden is light." Y mae yn ddiammeu fod "mi a roddaf i chwi orphwysdra" yn well cyfieithiad na "mi a esmwythâf arnoch," am ei fod yn gwneyd yn amlwg beth sydd yn lled anamlwg yn y cyfieithiad cyffredin, sef fod yr Iesu yma yn sôn am ddau orphwysdra gwahanol—y naill yn dyfod o symmud ymaith y blinder a'r llwyth sydd ar bechadur, a'r llall yn dyfod o dderbyn iau ac addysc y Gwaredwr. Yr un ffunud y mae y cyfieithiad "chwi a gewch hyd i orphwysdra" yn fanylach na "chwi a gewch orphwysdra," am ei fod yn dangos mai gorphwysdra a gyrhaeddir yn raddol, a thrwy fesur o ymdrech ydyw y gorphwysdra hwn, tra yn y gwrthwyneb mai gorphwysdra y mae yr Iesu yn ei *roddi* yn rhad ac yn ddioed ydyw y llall. I gael y naill orphwysdra, y mae yn ddigon ini *ddyfod at* yr Iesu fel Offeiriad. I gael y gorphwysdra arall, y mae'n rhaid

ini ymostwng iddo fel Brenin a Phroffwyd. Yn y testyn, ni a gawn olwg ar yr Iesu yn ei dair swydd; canys fel offeiriad y mae efe yn rhyddhau pechadur o'i flinder a'i faich; fel brenin y mae efe yn gosod iau ei lywodraeth arno; ac fel proffwyd y mae efe yn rhoddi addysc iddo. Fe dystiolaetha rhai iddynt gael gorphwysdra pan y daethant gyntaf at yr Iesu, eithr ni chawsant nemmor o orphwysdra ar ol hynny. Y mae yn hawdd egluro hyn:—Ceisio byw y maent ar y gorphwysdra a *roddwyd* unwaith gan Grist, heb ystyried na fwriadwyd i'r gorphwysdra hwnnw fod yn ddim amgen na sylfaen i orphwysdra arall mwy parhaol; sef, i'r gorphwysdra y mae y Cristion yn cael *hyd* iddo trwy ymroddi i wasanaeth Crist. Fe symudodd yr Iesu oddi arnynt faich trwm er mwyn gosod arnynt faich yscafn, ac fe roddwyd iddynt orphwysdra *oddi wrth* y baich trwm er mwyn cael o honynt orphwysdra o *dan* y baich yscafn. Y ddau orphwysdra a fydd pwnc fy sylwadau i.

Ym mlaenaf, *y gorphwysdra a geiff dyn trwy gael gwared o'i faich ei hun.* Yn ail, y gorphwysdra a geiff efe trwy gymmeryd baich yr Iesu yn ei le. (1) Y gorphwysdra a geiff dŷn trwy gael gwared o'i faich ei hun:—"Deuwch attaf fi bawb a'r..................a mi a roddaf i chwi orphwysdra." Pwy ydyw y rhai blinderog a llwythog yn fwyaf neillduol? Y rhai oedd yn ymdrechu hyd at flino i gadw cyfraith Moses, a'r rhai yr oedd y gyfraith, ynghyd â'r traddodiadau a chwanegwyd atti, yn eu llethu; canys y mae'r Iesu yn edliw i'r scrifenyddion a'r Phariseaid eu bod yn llwytho dynion â beichiau anawdd eu dwyn. Hyd yn oed ar wahân i ordeiniadau y Rabbiniaid, yr oedd cyfraith Moses ei hun yn llwyth trwm—rhy drwm i ddynion heb Grist ac heb gàlon newydd allu ei ddwyn. Yn nammeg y winllan yr ydys yn cyffelybu

dwyn y baich hwn i ddioddef pwys a gwres y dydd. Yr oedd y gyfraith fel gwres hanner dydd yn llethu yr Iddewon â'i danbeidrwydd. Hyfryd, yn ddïau, yw i'r llygad weled yr haul, ond y mae ei belydrau yn gorthrechu y gweinion. Da yw y gyfraith; ond y mae hi yn lladd y sawl na nerthwyd monynt i'w chadw. Yr oedd peth daioni yn y rhai oedd yn *ceisio* ei chadw, pe amgen ni buasent yn ceisio o gwbl. Yr oedd peth daioni yn y rhai oedd yn ei theimlo yn faich arnynt; canys pe amgen ni theimlasent moni yn faich. Fe gyfrifir y dŷn a fydd yn *ceisio* talu ei ddyled, ac yn *gofidio* o achos ei fod yn methu, yn ddŷn gonest. Gwŷr bucheddol—rhai agos i deyrnas Dduw a wahoddir yn fwyaf neillduol i ddyfod at yr Iesu—pawb a'r sy'n flinderog o achos eu bod yn ymdrechu myned i mewn i'r deyrnas; ac yn llwythog, yn galed arnynt, o achos eu bod yn methu â myned i mewn. Fel dynion truenus ac nid fel dynion drygionus y mae'r Iesu yn golygu pechaduriaid yn y testyn—fel dynion yn ymegnïo i dalu eu dyled, ac etto yn rhedeg er eu gwaethaf i fwy o ddyled, ac o'r diwedd yn suddo i anobaith o dan ei phwysau hi. Wrth eu gwahodd i ddyfod atto ef, y mae'r Iesu yn eu gwahodd i ddyfod at Un sy'n alluog ac yn ewyllysgar i dalu eu hen ddyledion, ac i'w gosod ar dir i ennill eu bywoliaeth, sef i gaffael bywyd tragwyddol heb fyned i drybini byth mwy. Y mae efe yn eu llwyr brynu hwynt oddi wrth felldith y ddeddf, am ei fod ef ei hun wedi ei wneuthur yn felldith drostynt; ac y mae efe yn ail fedyddio y ddeddf ei hun, gan ei galw yn gyfraith Crist, ac nid yn gyfraith Moses.

Er mai dyma ystyr cyntaf a mwyaf neillduol yr ymadrodd "pawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog," etto ni wneid dim cam ag ef pe rhoddid iddo ystyr helaethach; ac am hynny y mae'r hên esponwyr yn dywedyd mai

y rhai y mae pechod ac euogrwydd yn pwyso arnynt ydyw y rhai llwythog, ac y gelwir hwynt yn flinderog am eu bod yn ymboeni yn ofer i ymryddhau *oddi wrth* eu pechod. Y mae'n sicr fod yr Iesu yn galw atto bawb o'r cyfryw rai; ïe, y cyfryw rai y mae efe yn eu galw i dderbyn gorphwysdra; canys pa les a fyddai cynnyg gorphwysdra i ddynion nad ydynt wedi blino yn dwyn eu bai? A phwy sydd wedi blino yn dwyn y baich hwn nad ydynt hefyd yn *ym*flino i'w fwrw ymaith? neu o leiaf, i'w ysgafnhau. Fe ellir dyweyd, yn wir, mai yn ofer ac am ddim y treuliant eu nerth; ond y mae eu *bod* yn ei deimlo yn eu gwneyd hwy yn wannach, ac felly yn barottach i dderbyn ymwared o le arall. Fel rheol, y rhai sydd wedi eu hargyhoeddi trwy brofiad chwerw eu bod yn rhy wan i achub eu hunain a achubir gan yr Arglwydd. Dyma y rhai y mae galwad yr Iesu yn swnio uchaf yn eu clustiau. Dyma'r rhai a all brisio ei iachawdwriaeth ef oreu ar ol ei derbyn. Y mae gen i barch i'r dŷn sy'n ymladd yn erbyn pechod hyd yn oed yn ei nerth ei hun; canys y mae ei fod yn ymladd yn ei erbyn yn dangos ei fod heb ddygymmod âg ef. Nid yw hwn bell oddi wrth deyrnas Dduw. Y dŷn sy'n budur-ddisgwyl iachawdwriaeth ar hyd y blynyddoedd tan orphwys ar faich ei anwiredd ei hun—hwnnw sydd ymhell. Y mae efe mor bell fel nad yw llais y Gwaredwr ddim yn cyrraedd hyd atto. Os ydych yn ammau, mi a brofaf hynny allan o law:—"Deuwch attaf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog." A welwch chwi'r dŷn hwnnw yn dyfod? A welwch chwi ef yn ysgogi? A welsoch chwi ef hyd yn oed yn gogwyddo ei glust pan y llefarwyd y geiriau? Mi a ddywedais i chwi na chlywai efe ddim; ac mi ddywedaf ymhellach na chlyw efe byth tra yr erys efe y tu allan i gylch y rhai blinderog a llwythog. Pa les yw sôn wrth hwnnw am orphwysdra oddi wrth ei faich, ac yntau yn

gorphwys yn dawel *ar* ei faich? Onid yw ef ei hun er ys talm wedi cymmeryd ei gennad i ddweyd wrth ei enaid:—"Gorphwys, bwytta, ŷf, bydd lawen?" I'r pechadur sydd yn gwingo *dan* ei faich, ac nid i'r pechadur sydd yn gorweddian arno, y mae geiriau Crist yn eiriau comfforddus. Deuwch attaf fi bawb—pawb oll? Pawb a'r sy'n flinderog ac yn llwythog. Pawb nad ydynt o fewn y pawb yma, y maent hwy yn barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragwyddol. Bywyd i feirwon; meddyginiaeth i gleifion; rhyddid i gaethion; gorphwysdra i rai wedi blino ydyw iachawdwriaeth Crist. Ni all hi ddim bod yn iachawdwriaeth i neb amgen. Ni ellid ei gwneyd yn fwy grasol heb ei gwneyd yn ddiwerth. Ynfyd o beth yw cwyno na ddarparwyd gorphwysdra i rai diflin—i rai nad oes arnynt mo'i eisiau. Ni *fynnai'r* rhain mo'i derbyn, ac ni allai'r Hollalluog ei hun mo'i roddi iddynt hwy. Ond, medd rhywun, ar ewyllys y Gwaredwr ac nid ar ewyllys pechadur y mae cadwedigaeth yn dibynnu; canys y mae'r adnod o flaen y testyn yn mynegu nad edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysio'r Mab ei ddadguddio iddo. Gwir, ond i bwy y mae efe yn ewyllysio dadguddio'r Tad? I bawb a'r sy'n flinderog ac yn llwythog. Pwy bynnag a ddelo at y Mab tan ymdeimlo â'i bechod, fe adnebydd hwnnw y Tad yn y Mab, ac fe ddyry'r adnabyddiaeth honno orphwysdra i'w enaid.

Pa beth ydyw y gorphwysdra hwn? Heddwch tuag at Dduw—y teimlad fod yr holl anwiredd wedi ei faddau; y baich, a'r gollfarn yr un ffunud wedi eu symud ymaith. Y mae y dŷn a gafodd y gorphwysdra hwn yn gallu edrych yn wyneb yr Arglwydd mewn tangnefedd; ïe, mewn gorfoledd, ac yn gwybod fod yr Arglwydd yn edrych mewn tangnefedd arno yntau. Gorphwysdra ydyw hwn a roddir i bechadur er mwyn ei alluogi yn nechreuad ei yrfa

grefyddol i ymroddi yn egnïol ac yn galonog i wasanaeth ei Waredwr; canys pa gàlon a fyddai ganddo i wasanaethu Meistr â gwg ar ei wyneb? ïe, pa fodd y gallai efe ddwyn baich newydd, pa mor yscafn bynnag, heb gael gwared yn gyntaf o'i hen faich? Os disgwylir i'r dyledwr hwn godi ei ben yn y byd, ac edrych ym myw llygad angel, cythraul a dŷn, heb wladeiddio, rhaid i'r echwynwr faddau iddo ei hen ddyledion, a'i gyfrif yn ddŷn dieuog. A hyn y mae'r Iesu yn ei wneyd i bechadur wrth roddi iddo orphwysdra. Y mae efe'n taflu baich yr edifeiriol o'r tu ol i'w gefn; yn anghofio ei bechodau, ac yn dymuno arno yntau eu hanghofio, trwy ymgolli yngwasanaeth ei Feistr. Y mae yr Iesu yn gorchymmyn i'r gydwybod ei hun beidio âg adgyfodi y pethau a gladdodd efe. Pwy bellach a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Nid Duw; canys efe sydd yn eu cyfiawnhau. Pwy sy'n damnio—yn eu condemnio? Nid Crist; canys efe yw yr hwn a fu farw drostynt. Y mae gan y byd ryw escus am edliw i bechaduriaid y pechodau a wnaethant ar ol credu, ond nid oes ganddo ddim escus am edliw yr hen bechodau a wnaethant cyn credu. Pa beth a raid i bechadur ei wneyd i gael y gorphwysdra hwn? Dyfod at yr Iesu yn ei flinder ac o dan ei lwyth. Ni all fod ammod haws, ac etto rhaid addef nad yw *dyfod* yn beth hollol hawdd i'r rhai sydd wedi ymado mor bell oddi wrth y Duw byw; canys y mae *dyfod* yn cynnwys ei fod yn troi ei wyneb, ac yn gadael ei hen ffordd. Rhaid iddo droi ei wyneb cyn i Dduw droi ei enaid ef; canys y mae y Beibl yn sôn am droedigaeth sy'n rhagflaenu achubiaeth :—"Trowch attaf fi, holl gyrau y ddaear, *fel* y'ch achuber." Ni pherthyn i mi ymdroi i atteb cwestiynau anorphen ynghylch gallu dŷn a gras Duw. Y mae yn ddigon i mi gyhoeddi fod gorchymmyn i bob dŷn droi, a dyfod at yr Iesu, ac fod ei gydwybod ef ei hun yn tystiolaethu fod dyled arno i droi.

Pa ham y rhaid i druan sy'n ewyllysio *cael* gorphwysdra, a Gwaredwr sy'n ewyllysio *rhoddi* gorphwysdra fod byth ar wahân?

Yn ail, *y gorphwysdra a geiff dyn trwy gymmeryd arno iau a baich yr Iesu.* Gwasanaethu, ac nid gorwedd a chysgu sy'n dwyn i'r enaid y gorphwysdra hwn. O ran ei gorff a'i enaid, y mae dŷn yn blino mwy o lawer wrth ddiogi nag wrth weithio Llafur ac nid gwaith; pryder ac nid prysurdeb sy'n treulio nerth dŷn. Y mae fod dŷn yn ymystwyrian yn arwydd fod llonyddwch marwaidd yn annaturiol iddo, ac felly, yn boenus iddo. Ac fe fydd yr enaid yn ymystwyrian yn ei ffordd ei hun, yr un ffunud a'r corff. Chwi allwch ei weled fel aderyn yn curo ei esgyll ynghyd, a'i glywed yn dywedyd wrth ei berchen:—"Attolwg, gollwng fi allan o'r cawell cyfyng hwn, a gâd imi estyn fy adenydd yn yr awyr fry." Y mae cynneddfau ac aelodau dŷn yn cyffio pan na byddant ar waith. "Y mae y nos yn dyfod pan na ddichon neb weithio," a'r pryd hwnnw, cwsg yw y gorphwysdra melusaf; ond tra y byddo hi yn ddydd, nid oes gystal gorphwysdra a gwaith. Os nad anghofi di dy hun mewn gwaith, ymflino a wnei di ynghylch hen ffaeleddau a hen helbulon, a phryderu ynghylch amseroedd draw, y rhai o bosibl byth ni ddaw. Y mae *rhyw* waith a fyddo yn myned â bryd dŷn, yn rhoddi rhywfaint o orphwysdra i'w enaid; ond pan y byddo dŷn yn gweithio i'r Iesu, ac nid yn gweithio iddo'i hun, y gall efe ddisgwyl gorphwysdra o'r fath orau; canys y mae hwn yn gwybod nad eiff ei lafur yn yr Arglwydd, ac er mwyn yr Arglwydd byth yn ofer. Trwy *newid* gwaith, ac nid trwy roi heibio bob gwaith y mae y dŷn a ddaeth at yr Iesu yn cael hyd i orphwysdra. Yn lle iau cyfraith ddidostur, y mae efe'n cymmeryd arno iau Crist. Yn lle baich ei bechod, y mae efe'n cymmeryd arno faich

addysc yr Iesu. Y mae gan yr Iesu ei iau am ei fod yn frenin; y mae ganddo yntau ei faich—ei dasc, am ei fod yn broffwyd; ond y mae ei iau ef mor esmwyth a'i faich ef mor yscafn o'u cymharu â'r iau a'r baich a fwriwyd ymaith, fel y mae y rhai sydd yn eu dwyn yn teimlo eu bod wedi cael gorphwysdra. Onid trwy newid gwaith y gorphwys pob dŷn gweithgar? Pan y bydd y meddyliwr wedi blino yn darllen athroniaeth, efe a dry i ddarllen hanes; ac er fod hyn hefyd yn waith, o'i wneyd yn iawn, etto, y mae yn waith mor yscafn o'i gymharu â'r gwaith arall fel yr ydym yn teimlo ei fod yn orphwysdra. Y mae ymarfer corfforol yn waith, ond gorphwysdra ydyw i'r rhai sy'n eistedd i ddarllen o forau hyd hwyr. Y mae darllen yn waith, ond gorphwysdra ydyw hynny i'r rhai sy'n gorfod gwneyd gwaith amgen trwy y rhan fwyaf o'r dydd. O leiaf, y mae pawb sy'n ddigon call i wneyd hynny, ar ol cadw noswyl, yn tystiolaethu ei fod yn rhoddi iddynt orphwysdra mawr. Gwaith tebyg i'r gwaith a wna dŷn wedi cadw noswyl ydyw gwaith yr hwn sydd yngwasanaeth Crist. Gwaith ydyw a roddwyd i bechadur er mwyn ei alluogi i fwrw ymaith ei flinder. Y mae pob un oedd wedi blino yn gwasanaethu Satan yn teimlo ei fod yn dadflino—yn gorphwyso wrth wasanaethu Crist.

Yn y testyn, y mae'r Iesu yn annog dynion i gymmeryd ei iau a'i faich ef arnynt am ddau reswm; sef, am ei fod ef yn addfwyn a gostyngedig o gàlon, ac am fod ei iau yn esmwyth a'i faich yn yscafn; ac o herwydd fod y Meistr mor hawddgar, a'i waith mor hawdd y mae dynion yn cael gorphwysdra yn y gwaith. Er hynny, cael *hyd* i'r gorphwysdra hwn y maent, yr hyn sy'n arwyddo nad ydynt hwy ddim yn ei gael i gyd ar unwaith, ond yn raddol, yn ol fel y byddont yn ymgynnefino â'r gwaith. Iau ydyw iau ar y gorau, ac nid hollol hawdd ydyw i'r rhai a gyn-

nefinwyd â gwneuthur drwg, wneuthur da. Am hynny, da yw i ŵr ddwyn yr iau yn ei ieuengctid, cyn i iau pechod wneyd ei ysgwydd yn ysig. Efe a eistedd ei hunan, ac a daw â sôn am bwysau'r iau, am ei fod yn anghofio fod iau arno. Trwy ei dwyn yn forau a'i dwyn yn hir, y gall dŷn gwbl ddygymmod â hi. Anesmwyth a fydd hi gan bob un a fydd yn anesmwyth dani. Rhaid addef nad yw y rhan fwyaf o weision Crist ddim yn teimlo fod yr iau yn esmwyth. Iau caethiwed ydyw hi iddynt, ac nid perffaith gyfraith rhyddid. Y mae hyn yn dyfod o brinder cariad tuag at y Meistr, ac o brinder hyfrydwch yn ei waith. Nid yw llawer o honynt yn disgwyl nac yn ceisio cael *hyd* i'r gorphwysdra a geir trwy wasanaethu Crist; disgwyl y maent am barhad o'r gorphwysdra a roddodd Crist iddynt, pan y daethant atto ar y cyntaf; a chan nad ydynt mwyach yn cael hwn, y maent heb orphwysdra o fath yn y byd; ac am hynny yn teimlo yn anfoddlon a siomedig. *Baich* yscafn ddigon yw y gwersi a ddyry Crist iddynt fel proffwyd; er hynny, gan eu bod hwy yn esceuluso gwneuthur y gwersi hynny o ddydd i ddydd yn eu hamser, y mae y baich yscafn yn chwyddo ac yn myned yn faich trwm. Gan eu bod yn *cymmeryd* eu gorphwysdra trwy ddiogi, nid ydynt ddim yn cael y gorphwysdra a addawyd i'r rhai sy'n gweithio.

Os nad ydym yn cael gorphwysdra trwy ystyried yscafnder y gwaith, ceisiwn ei gael ynte trwy ystyried mwynder y Meistr:—"Addfwyn ydwyf," eb efe, "a gostyngedig o gàlon." Hyd yn oed pe bae y gwasanaeth yn galed, ti a ddylet fod yn ddiddig, a thithau yn gwybod fod y Meistr yn un addfwyn; canys y mae yn hyfryttach gweithio yn *galed* i Feistr addfwyn na gweithio yn *yscafn* i Feistr sarug. Cofia Gristion mai gweithio i gymmwynaswr yr wyt ti—i un a'th dderbyniodd yn llawen i'w dŷ, a

dynodd y llwyth oddi ar dy gefn; a olchodd dy draed; a dywalltodd olew i'th friwiau, ac a'th ddododd i orphwys ar ei esmwyth-fainc ef ei hun. O! pe baet yn ei garu ef hanner cymmaint ag y carodd efe dydi, ti a'i gwasanaethet ef tan ganu, ac a fyddet farw drosto tan orfoleddu. Ystyria pwy ydyw efe, a pha beth a wnaeth efe erot. Nid yn null dŷn y cafwyd ef erioed. Nid ynghyfaneddle'r ddaear yr oedd efe yn byw. *Dyfod* yma a wnaeth efe, o le pell, pell, goruwch yr holl nefoedd. Oni buasai iddo ef yn gyntaf ddyfod i lawr attat ti, ni ddaethet ti byth atto ef. Ac wedi *dyfod* yn ddŷn, efe a'i darostyngodd ei hun yn îs fyth, trwy wneuthur ei hun yn ddŷn gostyngedig—gostyngedig o gàlon. Ië, pan oedd efe yn ymdeimlo fwyaf â'i fawredd a'i uchel fonedd yr oedd efe fwyaf gostyngedig:—"Yr Iesu yn gwybod—yn gwybod roddi o'r Tad bob peth oll yn ei ddwylaw ef, a'i fod wedi dyfod oddi wrth Dduw, ac yn myned at Dduw, efe a gododd oddi ar swper, ac a ddechreuodd olchi traed ei ddiscyblion." Yr un ffunud, pan lefarodd efe eiriau'r testyn, y mae efe yn dywedyd, "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad, ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysio'r Mab ei ddadguddio iddo." Y mae efe'n dechrau ymfalchïo, meddwch, ac ymgodi. Na, ymbarotoi i ymostwng y mae efe; canys ymhen hanner munud ar ol dywedyd hyn, y mae efe yn mynegu:—"Addfwyn ydwyf, a gostyngedig o gàlon." Y mae efe yn ostyngedig nid yn unig am ei fod yn gweithredu yn ostyngedig, ond hefyd am ei fod yn teimlo yn ostyngedig, ac am hynny y dywed ei fod yn ostyngedig o gàlon. Y Brenin addfwyn hwn sy'n eich annog i gymmeryd ei iau arnoch; y Proffwyd gostyngedig hwn sy'n eich cymmell i ddyscu ganddo. Er fod hwn yn frenin ac yn broffwyd, y mae efe yn llywodraethu ac yn dyscu yn hytrach fel cyd was a chyd-yscolor nag fel meistr. Nid oes dim byd yn

dadogaidd—yn *patronising* yn yr Arglwydd Iesu. Yr ydych yn teimlo yn ei dŷ fel pe baech gartref. Y mae efe yn gymmaint o ddŷn fel yr ydych yn anghofio ei fod yn Dduw; yn gymmaint o ŵr bonheddig fel yr ydych yn anghofio ei fod yn Arglwydd. Rhaid fod gwasanaeth yr Iesu yn beth hyfryd, ac yntau yn feistr mor hawddgar. Os ydyw'n hyfryd gan rai o honoch fyw i chwi eich hun, y mae hynny am eich bod wedi arfer byw i chwi'ch hun. Os nad yw yn hyfryd gan rai o honoch fyw i Grist, y mae hynny am nad ydych wedi arfer byw iddo. Os ydych yn tybied fod yr Arglwydd yn feistr tost, y mae hynny am na phrofasoch ei fod yn dirion; ac ni allwch *brofi* ei fod felly heb ddyfod i'w wasanaeth, ac aros yn ei wasanaeth.

Ni fynwn i ddyweyd fod yr Iesu yn addfwyn tuag at bawb; canys yn yr un bennod ac ar yr un adeg ag y mae efe yn dywedyd "Deuwch" wrth rai, y mae efe yn cyhoeddi gwae yn erbyn eraill:—"Gwae di Chorasin, gwae di Bethsaida. Gwae chwi ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwyr." Y mae yr un a'r unrhyw yspryd ag sy'n ei gynhyrfu ef i ddywedyd yn deg wrth rai caled arnynt, yn ei gynhyrfu i lefaru yn arw wrth rai esmwyth arnynt—wrth bawb sy'n hunan-anghyfiawn ac yn rhagrithiol. Y mae yn sicr eich bod wrth ddarllen yr efengylau wedi sylwi mai nid yn erbyn dynion oedd yn addef eu bod yn bechaduriaid, ac a gyfrifid yn bechaduriaid, y byddai yr Iesu yn codi ei lef, ond yn erbyn y Phariseaid—yn erbyn dynion oedd yn tybied ac yn honni eu bod yn well na phobl eraill; ac fe ellir dyweyd mai ei waith yn taranu yn erbyn y sect barchus honno a gynhyrfodd y rhai oedd yn perthyn iddi i'w farwolaethu ef. Yr oedd y Phariseaid yn amser Crist yn bur debyg i sectau Cristionogol y dyddiau hyn, gan eu bod yn dywedyd yn hallt yn erbyn meddwdod, anniweirdeb, lladrad, a thorri'r Sabboth, ond

yn ddistaw iawn ynghylch drygau mwy ffasiynol o fath hunanoldeb, hunangarwch, ariangarwch, twyll, rhagrith, cenfigen, a phob angh;riad. Yn awr, rhag i'r bobl feddwl fod pechodau anifeilaidd a chamweddau seremoniol cyn waethed a'r pechodau cythreulig a enwyd, y mae yr Iesu yn ymattal, megis yn bwrpasol, rhag dywedyd llawer yn erbyn pechodau cnawdol. Yr oedd efe yn cyfrif y pethau hyn hefyd yn bechodau mawr, ond nid yn gyfryw bechodau ag yr oedd yn rhaid iddo ef ddyfod i'r byd i argyhoeddi dynion eu bod yn bechodau. Yn gyttunol â hyn y mae efe nid yn unig yn llefaru wrth y wraig o Samaria a'r wraig a ddaliesid mewn godineb, ond hefyd yn bwytta ac yn yfed gyd â phechaduriaid, sef gyd â meddwon, putteiniaid a godinebwyr, er mwyn dangos i'r Phariseaid ei fod yn cyfrif yscubion y byd yn fwy teilwng o'i gymdeithas ef na'u bath hwy, ac er mwyn dangos hefyd fod dŷn meddw a dŷn anfad yn nes i deyrnas nefoedd na dŷn rhagrithiol. Llawer o feio sydd ar y byd, ond chwarau teg iddo, y mae efe, o ran ei syniad am ddynion, ac o ran ei ymddygiad tuag attynt yn debyccach i'r Iesu nag ydyw llaweroedd o aelodau'n heglwysi; canys y mae efe yn derbyn yr afradlon, ond yn escymuno'r cybydd. Fe fyddai'n haws ganddo ef, fel gan yr Iesu, wrando ar Mair Magdalen yn gweddïo dros Caiaphas na gwrando ar Caiaphas yn gweddïo dros Mair Magdalen. Y mae'r yspryd Pharisëaidd sy'n culhau yr enaid ac yn crebachu'r gàlon yn waeth yn ei olwg yntau na'r pechodau sy'n drygu cyrff ac amgylchiadau dynion. Pe delai'r Iesu etto i'r ddaear, a llefaru a gweithredu ym Mrydain yn ol ei arfer ym mhlith yr Iddewon, Cristionogion ac nid pechaduriaid a ymgynddeiriogai fwyaf yn ei erbyn. Ni *chaent* hwy mo'i groeshoelio, y mae'n wir, am fod cospi felly wedi myned allan o arfer; ond hwy a fynent ei enllibo, ei erlid, ei ddirwyo a'i garcharu. Ped elai efe i

barth o'r America, er mwyn taeru na ellir gwasanaethu Duw a Mammon, hwyrach y crogid ef yno wrth bôst lamp. Nid allai . 'esu gynt, ac nid allai efe etto, ddim goddef dynion uchel eu hyspryd, a chul eu hyspryd fel y Pharisëaid, ac nid allent hwythau mo'i oddef yntau. Ond er fod yr Iesu yn dost wrth y Pharisëaid, yr oedd yn dyner odiaeth wrth bechaduriaid oedd yn teimlo eu bod yn bechaduriaid, ac wrth bawb oedd yn ymostwng i gymmeryd ei iau ac i dderbyn ei addysc ef. Y mae yn addaw i'r rhein orphwysdra—tri gorphwysdra, sef gorphwysdra cyn gwaith, gorphwysdra mewn gwaith, a gorphwysdra ar ol gwaith; ac yn fy marn i, y gorphwys canol ydyw'r gorphwys gorau, am fod hwn yn dragwyddol orphwys. Gorphwyso er mwyn casclu nerth i *weithio* ar y ddaear oedd y gorphwys cyntaf; a gorphwys er mwyn casclu nerth i weithio yn y nef a fydd y trydydd gorphwys hefyd. Gorphwys *oddi wrth* eu llafur y bydd ysprydoedd y saint tra y bydd eu cyrff yn gorphwys yn y bedd, ond gorphwys *mewn* llafur, neu'n hytrach, gorphwys mewn gwaith, y byddant hwy byth ar ol dydd y farn. "Gweision yr Oen," medd y Beibl, "a'i gwasanaethant ef," ond fe fydd *gwasanaethu* yn y nef yn gystal peth a theyrnasu; ac am hynny y chwanegir:—"A hwy a deyrnasant yn oes oesoedd." Yr oedd yr amser rhwng y maddau a'r cyflogi yn ddigon i bechadur i orphwys oddi wrth effeithiau hên iau y ddeddf, a baich pechod; ac fe fydd yr amser rhwng angau a'r adgyfodiad yn fwy na digon iddo i orphwys oddi wrth effeithiau baich yr Iesu, eithr ni bydd tragwyddoldeb yn ormod iddo i orphwys mewn gwaith.

Gyfeillion o bechaduriaid, oni fyddwch yn teimlo weithiau, pan y bydd cydwybod yn ymgynhyrfu o'ch mewn, a hyrddwynt y byd oddi allan yn eich lluchio draw ac yma, fry ac obry, fel dail Hydref, fod arnoch eisiau

gorphwys? Mi ŵn y byddwch; canys y mae enaid pob dŷn yn chwennychu naill ai gorphwysdra neu ogoniant, neu ynte bob un o'r ddau. Yr ydych nid yn unig yn chwennychu y pethau hyn, ond hefyd yn eu ceisio, rywfodd ac yn rhywle; ond gan nad ydych yn eu ceisio trwy Grist, ac yn ei wasanaeth ef, nid ydych yn eu cael. Ni all y byd roddi i chwi y ddau beth hyn ynghyd, hyd yn oed yn eu ffurf isaf; canys wrth geisio gogoniant yr ydych yn colli gorphwysdra, ac wrth geisio gorphwysdra yr ydych yn fforffedu gogoniant. Fe gafodd Harri IV. o Loegr ogoniant pan yr ennillodd efe'r goron, ond fe gollodd orphwysdra. Fe gafodd Carl V., ymherawdr y Gorllewin, orphwysdra pan ymgiliodd efe oddi ar ei orsedd i fynachlog, ond fe gollodd ogoniant. Y mae llawer seneddwr blinedig yn llefain ar amserau fel Dafydd:—"O na bâi imi adenydd fel colomen, yna yr ehedwn ymaith ac y gorphwyswn; wele, crwydrwn ymhell, ac arhoswn yn yr anialwch;" ond wedi ail feddwl, y mae'r anialwch yn ymddangos iddo mor ofnadwy a'r senedd, canys y mae myned i'r anialwch yr un peth a myned i dir angof, ac y mae bod yn ddinod yn fwy annymunol i ddŷn uchelfrydig na bod yn ddiorphwys. Ond yn y nef, chwi gewch fwynhau gorphwysdra *a* gogoniant ar yr un pryd; canys yn ysprydol, y mae y ddau beth hyn mewn cymmod â'u gilydd. A chwi allwch gael mesur o *orphwysdra*'r nef yn awr ar y ddaear; ac yn wir, os na chewch chwi y gorphwysdra ysprydol hwn ar y ddaear, ni chewch chwi mono yn y nef chwaith. Ni fedrwch chwi ddim gorphwys yn y byd tragwyddol os na byddwch chwi wedi dyscu gorphwys yn y byd hwn; o blegid gorphwys mewn gwaith y byddis yno—yn yr unrhyw waith ag yr ydys *yma* yn ymgyfaddasu iddo. Beth a dybygwch chwi am y gwaith? A ydyw hwnnw yn hyfryd gennych? Beth a dybygwch chwi am Feistr y gwaith? A ydyw efe yn hawddgar yn

eich golwg? Os felly, y *mae* i chwi orphwysdra, ac yr ydych eisys wedi dechreu'ch nef ar y ddaear. Os amgen, nid *oes* i chwi orphwysdra, ac ni bydd i chwi orphwysdra byth. Fel yr yspryd aflan, chwi a rodiwch ar hyd lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra, ac heb ei gael. O fyd annifyr! Dywedwch, os mynwch, na bydd dim tân yn uffern, mi ddywedaf finnau na bydd yno ddim gorphwysdra. Diddymwch uffern ei hunan, os mynwch, mi ddywedaf finnau y bydd byd tragwyddol yn bod wed'yn, ac ni bydd ynddo ddim heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol. Ni fyddai waeth genn i, mo'r llawer, fod yn dioddef mewn uffern dân na rhodio byth bythoedd ar hyd Sahara mawr tragwyddoldeb, gan geisio gorphwysdra ac heb ei gael. I mi, y mae darluniad Shakespere o'r brenin Llyr, â'i wallt ar ŵyr a'i lygaid ar wib, yn crwydro yn y tywyllwch ar foelydd diffaeth Dover mor arswydus a darlun paentiedig Wirtz o Napoleon Fawr yn sefyll yn bendrist yn fflamau uffern. Pa faint gwell a fyddwch o gael lle heb dân, os byddwch chwi mewn lle nad allwch chwi ddim gorphwys ynddo? Oni bydd cymdeithasu â'i feddyliau aflonydd ei hun? Oni bydd ceisio byw ar ei waith gwael ei hun yn ddigon o uffern i bob dŷn â theimlad ganddo? Os mynnwch chwi orphwys yn dawel mewn byd arall, deuwch at Berson y gallwch chwi orphwys arno; ymroddwch i waith y gallwch chwi orphwys ynddo.

Y mae yma rai yn fy ngwrando a *fedrant* orphwys yn y byd hwnw. Hwy a orphwysant *oddi wrth* eu llafur yn gyntaf oll; ac ar ol gorphwys felly, hwy a orphwysant *mewn* llafur, neu'n hytrach, mewn gwaith; canys ni bydd gwaith o hynny allan yn llafur iddynt hwy. Hwy a weithiant yn y nef am eu bod wedi dyscu gweithio ar y ddaear; hwy a orphwysant yno am y byddant wedi

dechreu gorphwys yma. Am y bydd y nef yn lle y gall y saint wasanaethu yr Oen yn ddirwystr y gelwir hi yn orphwysfa. Dynion anianol sy'n synio am dani fel lle a barottowyd i anwesu pobl ddioglyd. Ychydig iawn chwaneg a allaf fi na neb arall ei ddywedyd am y nef; ond yr ŵyf yn credu na chyfeiliornwn i ddim wrth haeru y bydd hi yn bob peth y dymuna y rhai mwyaf ysprydol iddi fod. Synio am dani yn ol eu hamgylchiadau a'u tueddiadau y maent hwythau, y mae'n wir, ond fe all eu syniad fod yn eithaf cywir er hynny. Dŷn llafurus a helbulus oedd Richard Baxter; ac am hynny, yr oedd yn naturiol iddo ef synio am gartref y saint fel *Everlasting Rest*—fel tragwyddol orphwys; a chan mai gorphwys a fynnai efe, gorphwys a gaiff efe. Dŷn dwys, myfyrgar, oedd John Howe; ac am hynny fe geisiodd ef brofi mai *Delight in God*—mai ymhyfrydu yn Nuw a fydd gwynfyd y gwaredigion; a chan mai astudio'r Duwdod oedd ei ddifyrwch, astudio'r Duwdod fydd ei ran. Pererinion, wedi laru ar eu pebyll bregus, ac ar eu bywyd ansefydlog oedd y patriarchiaid; ac am hynny, yr oedd yn naturiol iddynt hwy ddychmygu am y nef fel dinas âg iddi sylfaeni, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw; a chan mai nefoedd felly yr oeddynt yn edrych am dani, nefoedd felly a gânt. Nefoedd i foddloni *pawb* o'r saint ydyw nefoedd Duw; a hynny sy'n ei gwneyd yn wlad well—yn wlad heb ei bath. Pe gofynai un o'r rhai duwiolaf o honoch i'r Iesu, "Pa fath nefoedd a gaf?" efe a ddywedai wrtho:—"Bydded iti fel yr wyt yn ewyllysio." Ai rhodio yn alarus yr ydwyt trwy orthrymder y gelyn? Dos i mewn ynte i *lawenydd* dy Arglwydd. Os caru byw yn dawel yr ydwyt, o gyraedd twrf y byd, ti a gei y nef yn breswylfa heddychlon, ac yn orphwysfa lonydd. Os gwell gennyt fywyd prysurach y ddinas, ti a'i cei hi yn Gaersalem nefol, yn ddinas y Brenin mawr. Pa fath nef bynag a gei, ti a orphwysi

ynddi byth ; canys fe ellir dweyd fod pob enaid yn gorphwys wrth gael ei lwyr foddloni.

Y mae arnaf ofn fod yma rai gwrandawyr heb ddyfod at yr Iesu, ac heb gymmeryd ei iau ef arnynt. A oes heddwch? A oes gorphwysdra yn eich enaid? Yr ydych bob nos, ac yn amlach, yn mynnu gorphwysdra i'ch corff, a rhywfaint i'ch meddwl hefyd; ond p'am na thrugarhewch chwi wrth eich enaid—yr yspryd anfarwol sydd yn y lle santeiddiolaf o'ch mewn? Waeth i chwi heb fyned at y môr ac i'r ffynhonau, os na ddaethoch at yr Iesu. Waeth i chwi heb gael hanner diwrnod o ŵyl bob wythnos, a chwithau heb fynnu gŵyl dragwyddol i'ch enaid. Gorphwysdra enaid ydyw'r gorphwysdra pwysicaf, ac y mae yn rhyfedd iawn eich bod yn gallu gorphwys o gwbl tra bo hwn yn ddiorphwys. Deuwch at yr Iesu, bawb a'r sy'n flinderog ac yn llwythog, ac efe a rydd i chwi orphwysdra. Cymmerwch ei iau ef arnoch, a dysgwch ganddo, a chwi a gewch hyd i orphwysdra i'ch eneidiau. Deuwch, eb efe, wrth bawb sydd heb ddyfod, ond wrth bob un sydd wedi dyfod, y mae efe yn dywedyd, "Dos hyd y diwedd, canys gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau."

*Awst 19eg, 1893.*

## VII.

## Y TAIR EWYLLYS.

"*Efe a aeth drachefn yr ail waith, ac a weddïodd, gan ddywedyd, Fy Nhad, onis gall y cwppan hwn fyned heibio oddi wrthyf, na byddo i mi yfed o hono, gwneler dy ewyllys.*"—MATTHEW xxvi. 42 (yr ymadrodd olaf).

"Y PETHAU hyn a scrifennwyd fel y credoch mai'r Iesu yw Crist, mab Duw," meddir yn niwedd efengyl Ioan; a rhag i ddarllenwyr feddwl mai dŷn yn unig oedd yr Iesu, nid yw awdwr yr efengyl honno yn sôn dim am dristwch ac ofn yr Iesu yn Gethsemane; ond am Matthew, Marc a Luc, nid ydynt hwy yn petruso darlunio'r Ceidwad yn y gwendid mwyaf y gall dŷn fyned iddo. Nid darlun o Dduw cadarn yn cerdded yn dalgryf ac yn arafaidd i gyfarfod angau a geir ganddynt hwy; eithr darlun o ddŷn gwan, yn ymgreinio ac yn llefain gan boen a dychryn. Er hynny, nid yw Ioan yntau wedi llwyr esceuluso dangos yr Iesu yn ei wendid; canys y mae efe yn dywedyd i'r Iesu ryw ddeuddydd cyn ei fradychu lefaru fel hyn:—"Yr awr hon y cynnhyrfwyd fy enaid; a pha beth a ddywedaf? O! Dad, gwared fi allan o'r awr hon, eithr o herwydd hyn y daethum i'r awr hon." Fe fŷn rhai esponwyr, gan hynny, mai ar nos Fawrth, ac nid ar y nos y bradychwyd ef y bu yr Iesu mewn ing; ond ni byddai yn afresymol ini gyssoni yr efengylwyr â'u gilydd trwy ddywedyd y bu'r Iesu ynghorff yr wythnos ddiweddaf o'i oes mewn ing ar ddau amser gwahanol, ac mewn dau le gwahanol.

Ond pa ham y bu efe yn y fath ing? Pa ham yr oedd Tywysog y ffydd yn dangos cymmaint mwy o ofn marwolaeth na miloedd o'i ddilynwyr? A rhoi fod yr Iesu yn gwybod o ba angau y byddai farw, etto nid oedd marwolaeth y groes, er ei bod yn waradwyddus iawn, ddim mor boenus a llawer marwolaeth a wynebodd Cristionogion, Iddewon, a phaganiaid hefyd, gyd â'r tawelwch â'r llawenydd mwyaf. Wrth atteb y cwestiwn hwn, nid yw yn wiw i neb chwarau yn anonest â geiriau, yn ol dull yr hên dduwinyddion, trwy ddywedyd mai fel yr oedd yn ddŷn ac nid fel yr oedd yn Dduw yr oedd Crist yn ofni ac yn dioddef. A rannwyd Crist? A oedd cyn lleied o undeb a chydymdeimlad rhwng ei ddwy natur a phe buasent yn ddau berson gwahanol? Yscòi, ac nid cyfarfod â'r anhawsder yr ydys wrth briodoli i un rhan o Grist yr hyn a ddylid ei briodoli i'w holl berson; canys hyd yn oed pe na buasai yn ddim amgen na dŷn, fe ellid gofyn wed'yn pa ham yr oedd y dŷn hwn yn ofni marwolaeth yn fwy na llawer o ddynion eraill? Er cynnifer o wahanol syniadau sydd am berson Crist, y mae pawb bellach yn credu ei fod yn wir ddŷn; ac *am* ei fod ef yn well dýn na phob dŷn arall, yr oedd mwy o ofn marwolaeth arno. Pa ham yr oedd yn haws gan y lladron ddioddef poen a gwaradwydd y groes na'r Iesu? Y mae un o'r ddau yn dangos pa ham yn y geiriau hyn:—"Yr ydym ni yn derbyn yr hyn a haeddai'r pethau a wnaethom, ond hwn ni wnaeth ddim allan o'i le." Pa mor dda bynnag y gallai rhai o'r hên ferthyron fod, yr oeddynt oll yn haeddu marw mewn rhyw ffordd neu gilydd. Yr Iesu yw'r unig ddŷn a fu farw heb haeddu marw; ac nid oes dim yn peri mwy o dristwch i'r diniwed na chael ei gyfrif yn euog. Heb law hynny, gan fod yr Iesu yn well nag eraill, yr oedd ei natur ef yn dynerach ac yn fwy teimladwy na'r eiddo dynion eraill. Y mae'r

*gallu* i deimlo poen—poen meddyliol neu gorfforol, yn arwydd o ragoriaeth. Rhostiwch un o'r Indiaid cochion ar dân araf, ni welwch mo'no yn ysmician dim. Ys·craffiniwch fŷs bach Ffrangcwr, ac yn ebrwydd chwi a welwch ei holl gorff yn ymwingo. Y gallu i deimlo yw'r dreth y rhaid i Ffrangcod ei thalu am fod ar y blaen mewn gwareiddiad. O'r holl genhedloedd gwareiddiedig y mae yn hyspys mai'r Saeson yw'r bobl analluoccaf i deimlo poen; ac er fod y dideimladrwydd hwn yn eu cymmwyso i orchfygu, y mae yn eu hanghymmwyso i lywodraethu yn dringar, ac hefyd yn eu hanghymmwyso i ragori mewn cerddoriaeth, dramyddiaeth, adeilyddiaeth, cerfiadaeth, arluniadaeth, a phob un o'r celfau cain. Ynddo'i hun, gan hynny, y mae'r gallu i deimlo poen yn allu gwerthfawr, am ei fod yn cydfod à galluoedd eraill sydd yn magu cydymdeimlad mewn dŷn â'r hyn sy brydferth mewn moes, llen a chelf. Nid yw yn anweddus i neb ofni marw, a dymuno diangc rhag marwolaeth; o blegid cyflog pechod yw marwolaeth, yn y ffurf sydd arni ar hyn o bryd. Yr oedd yn naturiol i'r Iesu ofni marw; canys y mae marwolaeth yn fwy ofnadwy i'r gŵr ieuangc hoenus nag i'r henwr methiantus, ac yn fwy ofnadwy i ddŷn perffaith nag i ddŷn ammherffaith; canys dŷn perffaith a fedr farw mewn gwirionedd, a hyd yr eithaf. Ei enau ef yn unig sydd yn ddigon pur i brofi holl chwerwder marwolaeth. Fe gyfrannogodd yr Iesu o *holl* wendidau y ddynoliaeth; fe'i temtiwyd ym mhob peth, yr un ffunud a ninnau; ac yNgethsemane, fe'i temtiwyd i *ofni* hyd at gyffiniau anobaith, ac i fod yn athrist hyd angau. Fe fu agos iddo farw gan dristwch cyn cael ei groeshoelio. Ac nid y farwolaeth oedd o'i flaen oedd yr unig beth a'i gwnaeth yn drist. Onid oedd efe yn dyfalu fod un o'i ddiscyblion ei hun ar fedr ei fradychu; un arall ar fedr ei wadu, a phob un o honynt yn barod i'w adael? ac onid

oedd yn amlwg fod corff mawr ei genedl ei hun yn ei wrthod? "Efe a welodd nad oedd gynnorthwywr," ac fod yn rhaid iddo ymladd â gallu'r tywyllwch—âg angau ac uffern ei hunan. Ië, cofier fod uffern, ac nid angau yn unig, yn ymosod arno; ac y mae angau ei hun yn fwy arswydus pan y bo uffern y tu cefn iddo.

Yn ddiweddaf oll, fe ddylid cofio fod yr Iesu yn cynnrychioli'r ddynoliaeth; ac am hynny nad dwyn ei faich ei hun yr oedd efe yNgethsemane, eithr baich y byd. Gan fod Mab Duw wrth ddyfod yn Fab y dŷn wedi gwaghau a thlodi ei hun; wedi ymwadu â'i holl nerthoedd dwyfol—ar air, wedi claddu ei dduwdod bron yn llwyr yn ei ddyndod, pa ryfedd fod y person a waghawyd, a dlodwyd, ac a gyfyngwyd o fewn terfynau naturiaeth dŷn, yn crymmu ac yn chwysu wrth ddwyn y fath faich?

Yn y testyn fe ddangosir fod ewyllys Crist yn wahanol, er nad yn wrthwynebol chwaith, i ewyllys ei Dad—mor wahanol, yn wir, fel yr oedd yn anodd ganddo wneuthur ewyllys Duw:—"Fy nhad (eb efe), os yw yn bossibl, aed y cwppan hwn heibio oddi wrthyf; etto, nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." Ac eb efe, eilwaith, "Fy nhad, onis gall y cwppan hwn fyned oddi wrthyf, na byddo imi yfed o hono, gwneler dy ewyllys di." Gan fod yr Iesu yn wir ddŷn, ac felly wedi ei amgylchynu â gwendid y ddynoliaeth, ni all nad oedd yn anodd iawn ganddo wneuthur ewyllys Duw. Fe ddywedodd y Salmydd unwaith pan ar ei uchelfannau, "Da gennyf wneuthur dy ewyllys, O! fy Nuw;" ond prin y gallai'r Iesu ddywedyd cymmaint a hynny; ac am hynny, pan y mae awdwr y llythyr at yr Hebreaid yn dodi'r geiriau yngenau Crist, y mae yn eu meddalu, gan ddywedyd, "Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, O! Dduw."

Y mae hyn yr un peth a phe parasai i Grist ddywedyd:—"Ni allaf fi ddywedyd fod yn dda—fod yn hawdd gennyf wneuthur dy ewyllys; ond hawdd neu beidio, mi a'i gwnaf." Gyrfa o ufudd-dod ac nid o fwynhad oedd gyrfa Crist ar y ddaear; ac am hynny, yr oedd ei dduwioldeb ef (os priodol y gair) yn gynnwysedig mewn darostwng ei ewyllys ei hun, ac *ym*ddarostwng i ewyllys uwch. Ni fuasai efe yn pechu wrth wneuthur ei ewyllys ei hun, canys yr oedd yr ewyllys honno, fel efe'i hun, yn santaidd; ond wrth wneuthur ewyllys Duw y gallai efe ddangos ymwadiad a pherffaith gariad. Yn awr, ni allai ymwadu âg ef ei hun, a charu eraill heb ddioddef ar yr un pryd; ac fe ddywed y Beibl mai trwy ddioddefiadau o'r fath yma y perffeithiwyd ef.

Ac nid yngardd Gethsemane yn unig y gorfu i Grist ddarostwng ei ewyllys er mwyn ymostwng i ewyllys ei Dad. Hyn oedd ei dasc trwy gydol ei oes:—"Ni ddaethum (eb efe) i wneuthur fy ewyllys fy hun, ond ewyllys yr hwn a'm danfonodd." Crist nis boddhaodd ei hun un amser; meistroli ei hun a gwasanaethu Duw oedd ei waith ef bob amser. Hyd yn oed wrth ddywedyd ei fod yn dodi ei einioes i lawr o hono ei hun, y mae yn chwanegu ei fod yn gwneuthur hynny mewn ufudd-dod i orchymmyn—"y gorchymmyn hwn a dderbyniais i gan fy nhad." Trwy ymdrechiadau gorchestol i wneuthur dyledswyddau celyd yr ennillodd yr Iesu gariad arbennig ei Dad; ac o achos hynny, y mae efe yn esampl gymmwys i bob un o'i ddiscyblion. "Gwneler dy ewyllys di." Y weddi hon a weddïodd yr Iesu yn nyddiau ei gnawd yw gweddi pob duwiol tra y mae ar y ddaear. Ond y mae dŷn ym mhob lle, ac ym mhob cyflwr yn gweddïo rhyw weddi neu gilydd, yn ddistaw neu yn uchel. Felly, mi a gymmeraf fantais ar y testyn i draethu ychydig am weddi

dŷn yn ei gyflwr syrthiedig trwy bechod; am weddi dŷn yn ei gyflwr adferedig trwy ras, ac am weddi dŷn yn ei gyflwr perffeithiedig mewn gogoniant, neu yn fyrrach, *am weddi'r annuwiol, am weddi'r duwiol, ac am weddi'r sant.* Gwneler *fy ewyllys i* ydyw gweddi neu arwyddair yr *annuwiol*; ac y mae Duw yn fynych yn gwrando'r weddi hunangar hon. Fe waeddodd yr Israeliaid unwaith am frenin, ac fe roes Duw iddynt frenin, yn ei ddig; a chyn hynny, hwy a flysiasant yn ddirfawr yn yr anialwch; ni ddisgwyliasant am gyngor Duw; ac efe a roddes eu dymuniad iddynt; eithr efe a anfonodd gulni i'w henaid. Hwy a gawsant yr hyn oeddynt yn ei chwennychu; ond wrth chwennychu blasusfwyd i'w corff, fe aeth eu henaid yn gul. Fe ddaeth culni enaid arnynt yn ol natur pethau; ac am hynny y dywedir i Dduw ei ddanfon. Culni oedd achos eu chwant, a chulni mwy oedd effaith eu chwant. Ni all Duw gospi dynion yn fwy ofnadwy am eu hunan-garwch na thrwy borthi eu hunan-garwch. Fel mai trwy wrando gweddi y rhai duwiol y mae efe yn eu bendithio, felly trwy wrando gweddi y rhai annuwiol y mae efe yn eu damnio. Trwy dalu culni am gulni; trwy chwanegu hunan-garwch at hunan-garwch y mae natur hefyd yn cospi. "Fe fynnaf fi fy ffordd," medd y llangc annystyriol. "Ti a'i cei," medd natur. "Ti a'i cei," medd Duw natur, yr un ffunnud; "ond cofia fod y ffordd honno, wrth ddifyrru, yn cospi y rhai sydd arni." Gwyliwn osod ein hunain ar ffordd nid yw dda; o blegid y mae honno yn ffordd lithrig, ac yn myned tuag uffern obry. Os hyfryd yw bod ar yr ysclêr, nid hyfryd a fydd cwympo i'r pwll sydd yn ei phen eithaf.

"Gwneler fy ewyllys i." Nid wyf yn ewyllysio gwneyd cam â neb byw (medd rhywun), ac ni fynnwn wneuthur dim a ddygai waradwydd arnaf fy hun, nac ar fy nheulu.

Purion; ond os wyt yn gwneuthur dy ewyllys dy hun, dŷn hunangar ydwyt; a hunan-garwch yw enaid pechod. A rhoi y gelli garu dŷn heb garu Duw, ac heb ei garu er mwyn Duw, yr wyt yn hunangar wrth beidio â charu Duw ei hun; ac ni elli garu Duw heb wneuthur ei ewyllys, ac ni elli chwaith wneuthur ei ewyllys ef heb ddarostwng dy hun. A fuost ti erioed yn *ceisio* rhoddi dy serch ar bethau sydd uchod; yn *ceisio* marw i ti dy hun, a byw i Dduw; yn *ceisio* derbyn cerydd gan dy gyfaill heb ffrommi; yn *ceisio* anghofio dy hun yngwasanaeth Iesu Grist; yn *ceisio* caru dy elyn, a bendithio y rhai a'th felldithiant, a gweddïo dros y rhai a wnel niwed i ti? Y mae yma rai yn fy ngwrando sydd *yn ceisio* gwneyd y pethau hyn; ond y mae yn ammheus gennyf a oes yma neb a faidd ddywedyd ei fod yn medru eu gwneyd—yn medru eu gwneyd yn hawdd o'r hyn lleiaf. Yn awr, os nad yw yn hawdd gennyt wneuthur y dyledswyddau hyn, pa ham yr wyt ti yn sôn yn ffrostfawr am rinweddau bychain ag sydd yn fwy neu lai naturiol i ddŷn fel creadur cymdeithasgar? Er fod y dŷn nad oes ganddo rinweddau naturiol yn haeddu ei gondemnio yn fwy na neb, etto nid yw'r dŷn y *mae* ganddo'r cyfryw rinweddau yn haeddu ei ganmol yn fwy na neb. Y deddfau sydd yn myned yn erbyn natur, ac nid y deddfau sydd yn cyd-fyned â natur ydyw y rhai anhawsaf eu cadw. Er fod yr hwn nad yw yn darbod dros ei deulu yn waeth na'r di-ffydd, etto nid yw yr hwn sydd yn gofalu am ei dylwyth yn haeddu fawr o ddiolch; canys onid yw'r pechaduriaid yn caru y rhai a'u câr hwythau, sef eu perthynasau a'u cyfeillion? Ië, onid yw'r aderyn ysclyfaethus yn caru ei gymmar, a'r arth yn gofalu am ei chenawon? ac y mae rhai mathau o anifeiliaid yn cydymdeimlo nid yn unig â'u tylwyth, ond hefyd â'r holl rywogaeth y maent yn perthyn iddi.

Fe all dŷn wneuthur ei ewyllys ei hun, a nofio yn rhydd yn ei chwant, er ymattal oddi wrth rai pechodau neillduol; ïe, *trwy* ymattal oddi wrth rai pechodau. Gan na ddichon i'r un a'r cyfryw ddŷn gyflawni pechodau cyferbyniol ar yr un a'r unrhyw bryd, y mae yn canlyn fod ambell un yn rhydd oddi wrth un pechod am ei fod yn was i bechod arall. Er engraifft, y mae ambell un yn ymattal oddi wrth ddiodydd meddwol, nid am ei fod yn ddŷn ymwadol, nid am ei fod yn ddirwestwr yngwir ystyr y gair, eithr yn unig am ei fod yn gybyddlyd, neu yn falch, neu yn ofalus am ei fasnach. Felly y mae bydolrwydd y cyfryw un yn ei gynnorthwyo i ladd ei gnawdolrwydd. O ddau bechod, y mae efe yn dewis y pechod parchusaf, a'r un a wna leiaf o niwed i'w enw da a'i amgylchiadau. Y mae hwn yn haeddu ei ganmol am ei gallineb; ond nid yw yn haeddu ei ganmol am ddim arall. Gwneuthur ei ewyllys ei hun, a hynny er ei fwyn ei hun, y mae yntau yr un ffunud a'r meddwyn. Er ei fod yn *teetotaler* gwresog, nid yw efe ddim yn ddirwestwr, am nad yw yn ymwadu er mwyn Duw, ac er mwyn dynion. Yr unig ddŷn sydd yn haeddu ei alw yn ddirwestwr, hyd yn oed yn y pwngc o yfed, ydyw'r dŷn sy'n peidio â gwario arian am ddiodydd meddwol, "fel y byddo ganddo beth i'w gyfrannu i'r hwn y mae angen arno."

Y mae pob gwir ddirwestwr yn hael. Fel y gallom ym*roddi* y gorchmynnir ini ym*gadw*; canys yn nydd y farn, ni ofynnir ini beth *na* wnaethom, eithr beth *a* wnaethom. Y mae crefydd bur nid yn unig yn ein gwahardd i wneuthur niwed i ni'n hunain, ond hefyd yn ein cymmell i wneuthur daioni i eraill. Yn lle gorchfygu un drygioni trwy ddaioni arall, rhaid ini orchfygu *pob* drygioni trwy ddaioni; canys trwy wneuthur da y gallwn yn orau beidio â gwneuthur drwg.

"Gwneler fy ewyllys i." Efallai nad wyt ti ddim yn caru golud, ond dy fod yn caru clod; neu efallai nad wyt ti ddim yn caru clod, ond dy fod yn caru golud. Efallai nad wyt ti ddim yn caru difyrrwch trystiog, ond dy fod yn caru esmwythyd; neu efallai nad wyt ti ddim yn caru esmwythyd, ond dy fod yn caru difyrrwch. Pa ddiolch iti am beidio â charu'r naill, os wyt yn caru'r llall? Onid yw dy holl gàlon yn ymado oddi wrth y Duw byw wrth fyned ar ol un? Caru dy hun yr ydwyt wrth garu un yn hytrach na'r llall, a charu dy hun y byddet wrth garu'r naill a'r llall. Yr wyt yn euog o hunan-garwch wrth chwennychu, ïe, un peth er dy fwyn dy hun; a chan mai hunan garwch yw gwreiddyn pob drwg, pa les iti ddyweyd fod llai o nodd y gwreiddyn yn rhedeg i'r naill gyfeiriad nag i'r llall, ac fod llai o ffrwythau drwg yn tyfu ar y gangen hon nag ar unrhyw gangen arall? Os yw rhai o'r canghenau yn rhy grin i ddwyn ffrwythau drwg, y maent hefyd yn rhy grin i ddwyn ffrwythau da. Nid yw crinder a diffrwythdra ddim yn rhinweddau pendant a chanmoladwy; ac nid yw'r da o anghenraid yn bresennol lle y bo'r drwg yn absennol. Gwas drwg a diog yw'r gwaethaf o ddynion; y mae efe yn ymegnïo ac yn ymroddi i gyflawni pechodau ag sydd yn gyttunol â'i ewyllys; ond y mae yn rhy ddïog i gyflawni pechodau sydd yn wrthwynebol i'w ewyllys; er hynny, ni chyfrifir ei ddiogi yn gyfiawnder iddo. Pechadur mawr yw'r diafol; er hynny, nid yw yn bechadur anfeidrol, am nad yw yn fôd anfeidrol; ni all efe fod yn euog o bob pechod, am nad yw yn hollalluog. Er y bydd efe yn myned i dafarnau yn dra mynych, ni welwyd erioed mono yn dyfod allan yn feddw; ac er ei fod yn ymlusco i deiau gwrageddos llwythog o bechodau, ni ddaliwyd erioed mono yn godinebu. Er fod y diafol yn fwy o bechadur na dŷn, etto fe all dŷn gyflawni mwy o bechodau na'r diafol, am

fod iddo ef gorff *ac* yspryd. Pechu yn gyttunol â'u natur y mae'r cythreuliaid, a phechu yn gyttunol â'u natur y mae dynion hefyd, wrth ymroddi yn hytrach i rai pechodau nag i bechodau eraill. Er fod rhai dynion yn fwy tueddol i bechu yn anifeilaidd nag yn gythreulig, ac eraill yn fwy tueddol i bechu yn gythreulig nag yn anifeilaidd, etto y mae cyfathrach agos rhwng pechodau'r cnawd a phechodau'r yspryd ; canys nid unwaith yn unig y gwelwyd cythreuliaid yn myned i mewn i foch. Os wyf fi yn euog o'r pechod hwn, medd rhywun, etto fe fyddai yn ffiaidd gennyf fod yn euog o bechod fy nghymmydog ; ond nid *pa beth* yr wyt yn ei gasàu fwyaf, ydyw'r cwestiwn mawr, eithr *pwy* yr wyt ti yn ei garu fwyaf—ai Duw ai tydi dy hun ? Ewyllys pwy yr wyt ti yn ei wneuthur—ai ewyllys y Goruchaf ai dy ewyllys dy hun ? Yr ydwyt yn gweddïo, a hynny o'th galon ; ond y mae dy holl weddi yn gynnwysedig yn y geiriau hyn :—"Gwneler fy ewyllys i."

Yn ail, "Gwneler *dy ewyllys di.*" *Gweddi'r duwiol yw hon ;* a chan mai hi oedd gweddi Crist hefyd, yn nyddiau ei gnawd, ni ellir discwyl i'r dŷn duwiol ar y ddaear ymgodi i dir uwch na'r tir yr oedd y dŷn Crist Iesu arno, pan oedd yntau ar y ddaear. Digon i'r discybl fod fel ei Athro, yn ei weddi, fel ym mhob peth arall. Mewn ymostwng i ewyllys ei Dad yr oedd crefydd yr Iesu yn gynnwysedig, ac mewn ymostwng i'r ewyllys honno y mae crefydd pob Cristion yn gynnwysedig yn y fuchedd hon. Y mae gan y duwiol fel yr annuwiol ei ewyllys ei hun ; er hynny, i ewyllys arall ac uwch y mae efe yn ufuddhau. Hwyrach y tybia rhywun mai crefydd fach ac isel yw'r grefydd sydd yn gynnwysedig mewn ymostyngiad i ewyllys Duw. Yr ŵyf fi yn ei chyfrif yn grefydd fawr ac uchel iawn. Os dywed rhywun fod ei gariad ar Dduw yn

ei gwneyd hi yn hollol hawdd iddo ufuddhau i Dduw ym mhob peth, dyweded ei bader pan y bydd ei blentyn unig-anedig yn ymladd âg angau, a cheisied daflu ei holl gàlon i'r ymadrodd hwn :—"Gwneler dy ewyllys, megis yn y nef, felly ar y ddaear hefyd." Mi a glywais ddynion ar ol troseddu, yn gallu dywedyd yn rhwydd, "Maddau ini ein pechodau;" ac mi a glywais rai ag eisiau bwyd arnynt yn gallu dywedyd yn rhwyddach fyth, "Dyro ini heddyw ein bara beunyddiol," ond ni chlywais i neb yn dywedyd "Gwneler dy ewyllys" wrth erchwyn gwely ei blentyn neu ei briod claf, na byddai rhyw glap yn ei wddf, a rhwystr ar ei dafod. Ni a glywsom lawer gweddïwr yn dymuno llawenydd; ond pa sawl gweddïwr a glywsom yn dymuno cystudd? Fe allodd y Salmydd ddywedyd "Da *imi* fy nghystuddio;" ond ni allodd yntau ddywedyd "Da *gennyf* fy nghystuddio." Y mae yn wir fod Iago yn dywedyd, "Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau," ond cyngor ydyw'r geiriau ar y gorau—cyngor haws i'w roddi na'i wneuthur, a chyngor wedi ei sylfaenu ar yr ystyriaeth hon :—"Gan wybod fod profiad eich ffydd yn gweithredu amynedd."

Hyd yn oed yn ol y geiriau hyn fe ddangosir fod y Cristion yn gallu dygymmod â phrofedigaethau o wybod eu bod yn dda *iddo*, ac nid am eu bod yn dda ganddo. Er nad yw ewyllys y duwiol yn wrthwynebol i ewyllys yr Arglwydd, y *mae* hi yn wahanol; a chan ei bod yn wahanol, y mae yn rhaid iddo ei darostwng hi i'r ewyllys ddwyfol. Fe all hyn o waith fyned yn haws iddo o ddyfal ymarfer âg ef, ond nid eiff o ddim yn waith hollol hawdd iddo, yn y fuchedd hon. Gwyn ei fyd y dŷn a all ddywedyd fel apostol y Cenhedloedd, "Myfi a ddyscais ym mha gyflwr bynnag y byddwyf, fod yn

foddion iddo; ac mi a fedraf ymostwng." Yn sicr, y mae medru ymostwng yn dawel ac yn wastadol i ewyllys yr Arglwydd yn fwy o gamp na gorfoleddu mewn gorthrymderau unwaith neu ddwy mewn oes.

Oni roes yr un apostol esampl wych o ymostyngiad tua diwedd ei oes? "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu (eb efe). Yr wyf fi mewn cyfyng gyngor, gan fod gennyf chwant i'm dattod, ac i fod gyd â Chsist; canys llawer iawn gwell ydyw hynny i mi; eithr aros yn y cnawd sydd fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi." Pa un o'r ddeubeth hyn y mae yn ei ddewis? Y mae yn dewis yr hyn sy reitiaf i eraill, gan farnu mai'r peth anhawddaf sy fwyaf cyttunol âg ewyllys Duw, ac nid y peth sydd orau ganddo fo'i hun. Y mae yn gwneuthur gorchest fwy nag a wnaeth Moses; canys dewis yn hytrach oddef adfyd gyd â phobl Dduw na chael mwyniant pechod a wnaeth hwnnw; ond y mae'r apostol hwn yn dewis yn hytrach oddef adfyd er mwyn pobl Dduw na chael mwyniant *crefydd* gyd â Christ. Y mae yn gommedd paradwys dros dymmor er mwyn aros yn yr anialwch. Fe ddaeth ei *amser* i noswylio; canys y mae'r haul yn machlud, a chloch yr hwyr wedi canu, ac yntau yn flinedig ac yn *haeddu* gorphwys bellach; er hynny, y mae yn penderfynu gweithio dros oriau, gan ddywedyd wrth y Philippiaid, "Mi a arosaf gyd â chwi, er cynnydd i chwi a llawenydd y ffydd." Y mae yn aberthu ei fraint er mwyn dyledswydd, ac yn hytrach na dewis gogoniant yn *lle* gwaradwydd, y mae yn dewis y gogoniant sydd *yn*gwaradwydd Crist, gan ganu mewn effaith:—

"Mae Crist a'i w'radwyddiadau,
A'i groesau o bob rhyw,
Yn ddigon i mi farw,
Yn ddigon i mi fyw;

Can's yn ei groes mae coron,
Ac yn ei wawd mae bri,
A thrysor yn ei gariad
Sydd fwy na'n daear ni!"

O! yr oedd yr apostol wedi dyscu yn rhyfedd ddywedyd "Gwneler dy ewyllys di;" a phan oedd efe ar gyffiniau'r nef, bron nad oedd yn alluog i ddywedyd "Gwneler dy ewyllys di a'm hewyllys i."

Yn 3ydd, "Gwneler *ein hewyllys ni.*" Y sant, sef dŷn wedi ei berffeithio mewn gogoniant, a all weddïo'r weddi hon; canys nid yw hwnnw yn teimlo fod dim anghyttundeb na dim gwahaniaeth rhwng ei ewyllys ef ac ewyllys Duw. Iddo ef, fe fyddai dywedyd "Gwneler fy ewyllys i" yr un peth a dywedyd "Gwneler dy ewyllys di;" ac fe fyddai dywedyd "Gwneler dy ewyllys di" yr un peth a dywedyd "Gwneler fy ewyllys i." Yn y nef, y mae holl fân ewyllysiau dynion wedi ymfoddi yn ewyllys fawr Duw. Unwaith fe lefarodd Paul eiriau oedd yn swnio bron yn rhyfygus hyd yn oed yngenau apostol:—"Gwelwyd yn dda gan yr Yspryd Glân a chennym ninnau." Yn y nef, fe fydd yn weddus i'r saint distadlaf ddywedyd ar ol gwneuthur unrhyw beth, "Rhyngodd bodd i Dduw ac i ninnau." Yno fe fydd yr holl saint yn un yn Nuw, fel mai ynddo ef y byddant hwy yn ewyllysio, ac mai trwyddynt hwy y bydd yntau yn ewyllysio. Gan y byddant oll yn un yn Nuw, hwy a fyddant oll yn gyttûn â'u gilydd; a chan y byddant yn gyttûn â'u gilydd, hwy a fyddant yn gyttûn â hwy eu hunain. Yma, y mae'r dŷn gorau fel tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, gan fod y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr yspryd, a'r yspryd yn chwennychu yn erbyn y cnawd, a'r naill gynneddf yn ei enaid yn gwrthwynebu'r llall. Ond yno, fe fydd dŷn wedi ei gymmodi âg ef ei hun, am y bydd ei reswm a'i gyd-

wybod, ei serch a'i ewyllys yn cyd-dynu. Ië, fe fydd yn hawdd i ddŷn yno ddygymmod â'i amgylchiadau hefyd, am y bydd yr amgylchiadau yn dygymmod âg ef. Ni bydd ganddo gnawd i'w flino, am y bydd ei gorff yn gorff ysprydol. Ni raid iddo oddef profedigaeth, nac un loes, yn ei gorff na'i yspryd, "canys marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch na llefain na phoen ni bydd mwyach." Am fod y duwiol ar y ddaear, ac o'r ddaear, ac felly yn ddaearol, y mae mor anodd iddo fod yn nefol o ran ei yspryd a'i ymarweddiad, ond fe fydd yn hawdd iddo fod yn nefol yn y nef. Fel y mae'r ddaear yn cymmell dŷn i fod yn ddaearol, felly y bydd y nef yn ei gymmell i fod yn nefol. Rhwyfo yn erbyn y llif y mae'r duwiol ar y ddaear; ond hwylio gyd â'r llif y bydd efe yn y nef. Fe fydd môr y wlad well yn llyfn fel y gwydr, ac yn loew fel y grisial; am hynny, ni welir arno dymmestl byth; a hynny o awel fydd arno, ti a'i cei i'th gefn. Fe fydd heolydd y ddinas nefol yn aur pur; am hynny, ni tharewi dy droed un amser wrth garreg, ac ni'th rwystrir gan ddim. Yna y cei rodio dy ffordd yn ddiofal; dy gerddediad ni bydd cyfyng, a phan redech ni thramgwyddi. Yn yr amgylchiadau manteisiol hyn, nid ymostwng i ewyllys Duw y bydd ewyllys dŷn, eithr ymgyfuno â hi. Fel y peidiodd pechadur a dywedyd "Gwneler fy ewyllys i," pan y'i symmudwyd o gyflwr natur i gyflwr o ras, felly paid efe â dywedyd "Gwneler dy ewyllys di," pan y'i symmudir o gyflwr o ras i gyflwr o ogoniant. Fe all y sant perffaith gyssylltu ei ddwy hên weddi, a'u gwneyd yn un weddi newydd, gan ddywedyd, "Gwneler fy ewyllys i a'th ewyllys di." Gyfeillion, ymostynged pob Vi fach sydd yn ein plith i'r Ti fawr, fel y'n dyrchafer yn y diwedd i'r man lle y mae Duw a dynion yn *cyd*-ddywedyd:—"Gwneler ein hewyllys ni."

*Ionawr 30ain, 1897.*

## VIII.

## TOSTURI YR IESU.

"*A'r Iesu, wedi myned allan, a welodd dyrfa fawr, ac a dosturiodd wrthynt, am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail: ac a ddechreuodd ddyscu iddynt lawer o bethau.*"—MARC vi. 34.

"A'R Iesu wedi myned allan"—nid wedi myned allan o'r llong, fel y dywed rhai o'r mân esponiadau, eithr wedi myned allan o'r lle anghyfannedd yr oedd efe a'i ddiscyblion wedi ymneillduo iddo; canys y mae'r tri efengylwr arall yn dywedyd yn eglur fod yr Iesu wedi cyrhaedd nid yn unig i'r lan arall, ond hefyd i'r anghyfanneddle ar y mynydd-dir, cyn i'r bobl ddyfod o hyd iddo. Fe ddichon yn wir fod rhai, fel y dywed Marc, trwy redeg o amgylch cwr deheuol llyn Galilea wedi ei ragflaenu, ond ni welodd yr Iesu dyrfa fawr yn dyfod atto hyd onid oedd efe a'r discyblion wedi eistedd i lawr ar y mynydd yn agos i Bethsaida—nid y Bethsaida oedd y tu yma yNgalilea, eithr y Bethsaida arall oedd yn nhir Basan. Fe ddywed Marc iddo gymmeryd ei ddiscyblion dros y môr mewn llong fel y caffent orphwys ychydig ar ôl eu taith gennadol, ac fel y caffai yntau, ond odid, gyfleusdra i glywed eu hadroddiad am dani; ond fe ddywed Matthew iddo symmud o deyrnas Herod Antipas i deyrnas ei frawd mwynach Philip, o achos iddo glywed fod tetrarch Galilea wedi torri pen Ioan Fedyddiwr, a'i fod yn ceisio ei weled yntau. Nid yw y rheswm hwn yn cau

allan y rheswm arall: canys y mae yn hawdd ini gredu y gallai'r Iesu ymgilio o Capernaum am fwy nag un rheswm.

Pan ddaeth yr Iesu allan o'i ddirgelfa yn y lle anghyfannedd, efe a welodd y dyrfa, a phan welodd efe hwynt, efe a dosturiodd wrthynt. *Tosturio* ydyw gair mawr y testyn, ac ar dosturi'r Iesu yr wyf yn bwriadu traethu. Y mae'r adnod yn mynegu dau beth am ei dosturi wrth y dyrfa—y mae hi yn mynegu pa ham y tosturiodd efe wrthynt, sef am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail, ac hefyd pa fodd y tosturiodd efe wrthynt, sef trwy ddyscu iddynt lawer o bethau. Ond cyn traethu ar y pa ham a'r pa fodd, y mae yn wiw imi draethu ychydig ar y pa beth. Ym mlaenaf, gan hynny, pa beth ydyw tosturi? Cydymdeimlad yw tosturi; ond nid y cyd-ymdeimlad sydd yn cymmell un i fod yn llawen gyd â'r rhai sy lawen, eithr y cyd-ymdeimlad sydd yn ei gymmell i wylo gyd â'r rhai sydd yn wylo. Y mae yn well gan dosturi fyned i dŷ galar nag i dŷ gwledd. Cyd-ofidio a chyd-ddioddef yw ei briod waith ef, ac ni all efe gyd-lawenhau â neb. Mwy, y mae tosturi yn cymmell un nid yn unig i deimlo *gyd* â'r rhai sydd ofidus, ond hefyd i deimlo *dros* y rhai sy druenus, sef dros y trueiniaid sydd yn ddideimlad i deimlo drostynt eu hunain. Y mae pawb sydd ofidus yn druenus, ond nid yw pawb sy druenus yn ofidus. Y mae'r lloerigion sydd yn Asylum Dinbych oll yn druenus eu cyflwr, ond nid ydynt oll yn ofidus. Fe ellir clywed rhai o honynt yn chwerthin ac yn canu; ond y mae hyd yn oed y gwahaniaeth chwithig sy rhwng eu cyflwr a'u teimlad yn peri i'r ymwelydd dosturio wrthynt. Yr ydys yn gresynu yn fwy wrth eu trueni am nad ydynt hwy eu hunain yn ymdeimlo â'u trueni. Y mae hyd yn oed y neb a fô yn ymdeimlo â'i drueni yn fynych iawn yn

teimlo llai na'r neb a fô yn *cyd*-ymdeimlo âg ef. Y mae *cyd*-ymdeimlad y fam, er engraifft, yn fwy poenus na theimlad ei baban claf. Poen corfforol yn unig sydd yn blino hwnnw; ac ni all y cyfryw boen fod yn fawr mewn creadur y mae ei ddychymmyg a'i synnwyrau heb ymddadblygu; ond y mae hi trwy ei chyd-ymdeimlad yn cyfrannogi o'i holl boen corfforol ef, ac yn chwanegu at y boen honno boenau eraill mwy, sef pryder ac ofn. Er mai teimlad ydyw tosturi, etto y mae efe yn deimlad sydd yn gyssylltiedig âg un o gynneddfau pennaf y meddwl, ac am hynny y mae maint ein tosturi yn cyfatteb i faint ein dychymmyg. Trwy'n dychymmyg ac nid trwy synnwyrau'n corff yr ydym yn gallu ymwybod â phoen a gofid rhai eraill, ac felly trwy'r dychymmyg yr ydym yn gallu gosod ein hunain yn lle eraill; ac oni allwn osod ein hunain yn lle rhai eraill, y mae yn annichon ini gyd-ymdeimlo â hwynt. Y mae anallu diarhebol y Saeson a'r Scotiaid i gyd-ymdeimlo â chenedloedd eraill yn dyfod o'u hanallu i osod eu hunain yn lle cenedloedd eraill; *h. y.*, o'u hanallu i ddychmygu. Y maent yn siarad ac yn scrifennu yn ynfyd am eraill, ac yn gweithredu yn anghyfiawn tuag at eraill, nid am eu bod yn ddigydwybod, eithr am nad oes ganddynt fawr o ddychymmyg. O anwybodaeth ac nid o fwriad y maent yn gwneyd cam âg eraill ar air ac ar weithred; ac am hynny y mae eu bai yn hytrach yn feddyliol nag yn foesol. Rhaid i ddŷn fod yn dippyn o fardd i allu cyd-ymdeimlo; ac y mae cenedloedd Brydain a Thaleithiau Unedig yr America, wrth ymwerthu i addoli ac i wasanaethu Mammon yn fwy nag un Duw arall, yn lladd hynny o farddoniaeth a ddichon fod ynddynt, ac yn prysuro i wneyd eu hunain y cenedloedd mwyaf anhawddgar ar wyneb y ddaear. Ni fynnwn i annog y Cymry i fyned yn brydyddion; canys y mae yNghymru ormod o brydyddion eisys; ond mi a fynnwn eu hannog

i fod yn feirdd—yn ddigon o feirdd, o'r hyn lleiaf, i allu gosod eu hunain yn lle eraill; canys hyn o beth yw ffrwyth dychymmyg, a gwreiddyn cyd-ymdeimlad Fe wnaeth yr Iesu ddammegion oedd yn llawn o farddoniaeth; er hynny, yr oedd mwy o farddoniaeth yn ei weithredoedd nag ydoedd yn ei eiriau. Ni hedodd ei ddychymmyg ef erioed mor bell a phan osododd efe ei hunan yn lle rhai eraill. "Dïau, efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau." Yr oedd efe yn dioddef wrth *gyd*-ddioddef â nyni; wrth ddioddef *gyd* â ni, yr oedd efe mewn gwirionedd yn dioddef drosom. Yr oedd efe wrth gymmeryd ein gwendid ni yn ei wanhau ei hun, ac yn ein nerthu ninnau; ac yr oedd efe wrth ddwyn ein doluriau yn dolurio'i hun ac yn ein hiachau ninnau. Pwy bynnag a gyd-ymdeimlo hyd at gyd-ddioddef, y mae hwnnw yn Fechnïydd. "Yn eu holl gystudd hwynt, efe a gystuddiwyd." Yr ŵyf yn dywedyd eilwaith fod barddoniaeth yr efengyl yn ymddangos yn y dychymmyg a aliuogodd yr Iesu i ymdaflu i gyflwr rhai eraill, ac i ymgyfuno â hwynt trwy gyd-ymdeimlad.

Gormod, ond odid, a fyddai dywedyd fod tosturi yn rhywbeth mwy na chariad; er hynny, y mae yn iawn dywedyd ei fod yn fwy na chariad cyffredin. Y mae efe, yn sicr, yn fwy na chariad perthynas at berthynas, neu gariad cyfaill at gyfaill; canys y mae'r cyfryw gariad yn wobr iddo'i hun, ac felly yn gariad y mae rhywfaint o hunan-gariad ynddo. Y mae y cyfryw gariad yn rhy naturiol ac yn rhy gyffredin i fod yn rhinwedd uchel a chanmoladwy; ac am hynny y dywedodd yr Iesu:—"Os cerwch y rhai a'ch carant chwithau, pa ddiolch sydd i chwi, o blegid y mae pechaduriaid hefyd yn caru y rhai a'u câr hwythau." Tosturio, sef caru y rhai nad ydynt yn eich caru chwi, hynny sydd orchest; ac y mae i'r sawl a

wnelo hynny ddiolch gan Dduw, a hynny yn fwy am nad oes iddynt wobr gan ddŷn. Cariad sydd yn caru gwrthrych truenus ac anhawddgar; cariad sydd yn rhoddi heb obeithio dim drachefn, hynny ydyw tosturi. Cariad a'i egwyddor y tu allan iddo'i hun; cariad wedi ei buro trwy dân oddi wrth bob hunanoldeb ac oddi wrth bob cnawdolrwydd; cariad ar ei orau; cariad ar ei eithaf; cariad yn wylo; cariad yn cyd-ofidio; cariad yn cyd-ddioddef, hynny ydyw tosturi. Fe ellir yn wir dosturio hyd ryw fesur wrth un nad ydyw yn anhawddgar; ond y mae yn rhaid iddo fod yn druenus—rhaid iddo fod yn gystuddiedig naill ai o ran ei gorff neu o ran ei yspryd, cyn y gall efe ennyn tosturi. Y mae'r fam yn caru ei phlentyn pan y byddo yn iach, ond y mae hi yn tosturio wrtho pan y byddo yn glaf; ac O, gymmaint purach a chryfach yw ei thosturi na'i chariad! Yr oedd hi yn cyd-lawenhau âg ef yn ei iechyd; ond y mae hi yn cyd-ddioddef âg ef yn ei glefyd, ac y mae'r cariad sydd yn gwaedu yn gynnhesach na'r cariad sydd yn gwenu. Y mae'r cariad a wnelo rywun yn gyfrannog o ddioddefiadau rhywun arall yn gariad mechnïol, a chariad mechnïol ydyw tosturi. Os ydyw'r fam honno yn caru mab afradlon, neu ferch anafus afluniaidd, yna y mae ei chariad at y rheini yn rhagorach na'i chariad at ei phlentyn claf, am fod y cariad hwn yn debyccach i dosturi Duw, yr hwn a garodd ddynion, oedd nid yn unig yn druenus, ond hefyd yn bechadurus ac anhawddgar.

Ni raid i mi ymdroi i gymmwyso at dosturi yr Iesu yr holl bethau a ddywedais am dosturi yn gyffredinol; canys y mae yn ddiammau fod pob un o honoch wedi gwneyd hynny eich hunain, hyd fesur mwy neu lai. Dywedyd yn unig a wnaf mai ei dosturi yntau ydyw'r elfen uchaf yn ei gariad ar ddŷn, a bod ei dosturi ef tuag

attom ni yn fwy na'n tosturi ni tuag attom ein hunain ; ïe, ei fod ef yn tosturio wrth y rhai sydd yn rhy ddideimlad i dosturio wrthynt eu hunain, am fod ganddo well syniad am y trueni y maent ynddo. Efe a *welodd* y tyrfaoedd yn dyfod atto y tu hwnt i Fôr Galilea, ac a'u gwelodd yn well nag y gwelsant hwy hwynt-hwy eu hunain, ac *am* iddo'u gweled, efe a dosturiodd wrthynt. Y mae efe yn awr, ac yntau wedi ei ddyrchafu hyd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch-leoedd, yn gweled yn well ac ym mhellach nag y gwelodd efe oddi ar un o fynyddoedd isaf tir Basan. Y mae'r Arglwydd Iesu bellach yn edrych i lawr o'r nefoedd, ac am hynny y mae efe yn gweled *holl* feibion dynion ; ac nid all efe mo'u gweled heb dosturio wrthynt. A chofier nad yw tosturi *Duw* tuag at ddŷn ddim llai na thosturi'r Arglwydd Iesu ; canys i ddadguddio meddwl a chàlon ei Dad y daeth yr Iesu i'r byd. Fe droes cariad y Tad yn dosturi cyn gynted ag yr aeth ei blant yn druenus ; er hynny, ni allai Duw Dad, ac efe yn Yspryd, ddim dangos ei dosturi, fel y dangosodd Mab y dŷn ei dosturi. Duw di-ddagrau oedd efe ; am hynny, efe a ymddangosodd yn y cnawd, fel y gallai wylo. Pan wylodd yr Iesu y gwybu'r Iddewon gymmaint oedd ei gariad ef tuag at ei gyfaill Lazarus. "Yr Iesu," medd yr hanes, "a wylodd ;" am hynny y dywedodd yr Iddewon, "Wele, fel yr oedd efe yn ei garu ef." Duw a ymddangosodd yn y cnawd ; ac er y pryd hwnnw fe ellir dywedyd, "Duw a wylodd ;" am hynny y dywedodd yr angylion oedd yn sefyll ger llaw, "Wele, fel y mae efe yn caru dŷn." Cariad trist a dwys yw tosturi Duw tuag at bechadur ; canys y mae ym mhob tosturi ofid a phoen. Ni fyddai waeth ini mo'r llawer synio am Dduw fel peth nag fel person, oni chredwn ei fod yn gallu cyd-ofidio a chyd-ddioddef â'r rhai sy mewn trueni. Y *mae* dynol dristwch sydd yn harddwch ar ddŷn, ac y mae *dwyfol*

dristwch sydd yn harddwch ar Dduw. Tristwch anrhydeddus; tristwch na raid i Dduw na dŷn dristau o'i blegid; tristwch iach—ïe, tristwch melus hefyd, yw'r tristwch sydd yn dyfod o dosturi tuag at drueiniaid. Dyweder, os mynnir, yngeiriau'r apostol, mai tosturi yw gwendid Duw; er hynny, yn ei wendid hwn y perffeithir ei nerth ef. Pan lescaodd ei gàlon yn yr olwg ar drueni pechaduriaid y gwelwyd holl nerth ei *gariad* ef. Trueni dynion a roes achlysur, ac a roes gyfleusdra, i gariad Duw Dad ymddangos yn ffurf tosturi; canys lle na byddo trueni, nid oes angen am dosturi. Dŷn truenus a wnaeth y Duw cariadus yn Dduw tosturus. Pan y cwympodd dŷn, fe welwyd rhyfeddod mawr yn y nef—gwyrth, nad oedd troi y dwfr yn win yn ddim wrthi; canys fe welwyd daioni gwyn Duw tuag at ei greadur yn troi yn dosturi coch tuag at *bechadur*. Yngolwg dŷn, os nad ynddo'i hun, y mae Duw bellach yn deccach nag ydoedd efe o'r blaen, am ei fod yn wyn, a gwridog. Bron na ddywedwn fod yn dda gennyf ddarfod fy ngeni yn bechadur truenus; canys oni buasai hynny, ni chawsai Duw ddim cyfle i ddangos ei dosturi tuag attaf, ac ni chawswn innau ddim cyfle i weled ac i brofi ei dosturi. Pa waeth yw fod pawb oll yn druenus, os yw Duw yn dosturiol, ac yn barod i'w hachub? Onid yw'r cyfleusdra a roddwyd i Dduw i ddangos rhagorol olud ei ras, a'r cyfleusdra a roddwyd i ddynion i dosturio wrth eu gilydd, yn rhoi digon o achos ini ddygymmod â phob trueni a'r sy dros amser? Da y gwnaeth Duw bob peth; ïe, da y goddefodd efe i bechod a thrueni ddyfod i'r byd.

Ar ol ymofyn pa beth ydyw tosturi, mewn dŷn, yn Nuw ac yn yr Iesu, ni a ymofynnwn yn ail, *pa ham* y tosturiodd yr Iesu wrth y dyrfa; a'r atteb yn y testyn yw hyn:—"Am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail." Yr

atteb cyffredinol, wrth reswm, a fuasai dywedyd ddarfod i'r Iesu dosturio wrthynt am eu bod yn druenus; ond fe fynnai'r efengylwr ddangos yn eglur pa beth yn fwyaf neillduol ynghyflwr y bobl oedd yn eu gwneyd yn druenus yngolwg yr Iesu. Fe ddywed Matthew fod yn y dyrfa gleifion, a darfod i'r Iesu dosturio cymmaint wrthynt fel yr iachaodd efe hwynt oll; er hynny, y mae Luc yn awgrymmu mai ar ol iddo'u dyscu y darfu iddo eu hiachau. Cyn diwedd y dydd yr oedd ar yr holl bobl eisiau bwyd, ac fe dosturiodd Iesu gymmaint wrthynt o blegid hynny, fel y bu yn wiw ganddo wneuthur gwyrth er mwyn eu porthi. Yn ddïau, nid oedd yr Iesu yn ddifatter am gyflwr eu cyrff; ond yr olwg ar gyflwr eu heneidiau, o flaen dim arall, ac yn fwy na dim arall, a gynnhyrfodd ei dosturi ef. Cyn gynted ag y gwelodd yr Iesu hwynt yn dyfod atto, efe a dosturiodd wrthynt. Pa ham? Am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail. Eu cyfeiliorn—eu cyfeiliorn ysprydol, a'u diamgeledd, a gyffroes ei natur ef hyd i'w dyfnderoedd. Y mae agos bawb yn ddigon teimladwy i allu tosturio wrthynt eu *hunain*, pan y bydd rhyw anhwyldeb ar eu corff; ac y mae'r teimlad hwnnw yn eu cymmell i geisio ymwared gan rywun neu gilydd, ond ychydig sydd yn ymdeimlo âg anhwylderau eu hyspryd; ac am hynny ychydig sydd yn deisyfu cael ymwared oddi wrthynt hwy. Y mae yspryd dŷn yn anweledig, ac am hynny y mae ei drueni hefyd yn anweledig i bawb nad argyhoeddwyd monynt gan yspryd Duw. Yr Iesu sydd yn gweled hyd i eigion yr yspryd; am hynny, efe yn anad neb arall, a ddichon dosturio wrth ddŷn o achos trueni ei yspryd. Yn y peth yr ydym ni yn tosturio leiaf wrthym ein hunain y mae efe yn tosturio wrthym. Yn wir, y ffaith nad ydym ni yn ymdeimlo â'n trueni ysprydol fel yr ydym yn ymdeimlo â'n trueni corfforol ydyw yr achos pennaf o'n tu ni pa ham y mae

efe yn tosturio cymmaint wrthym. Fe ddylai ei fawr dosturi ef tuag attom ni ein cyffroi ninnau i dosturio wrthym ein hunain, a'n hargyhoeddi y rhaid fod y trueni a ennynodd y fath dosturi yn fawr iawn.

Nid oedd yr Iesu, fel y dywedwyd o'r blaen, ddim yn ddiystyr o'r trueni yr oedd dynion yn ei deimlo eu hunain, megis poenau corfforol ac adfyd tymmorol; canys efe a wnaeth wyrthiau lawer er mwyn lleddfu a symmud ymaith y pethau hyn. Yr oedd pob math o drueni yn ennyn ei dosturi ef; ac yr oedd efe yn ewyllysio gwneyd dynion yn iach o ran eu corff fel o ran eu henaid, ac yn ddedwydd yn y byd hwn fel yn y byd a ddaw. Yr oedd efe yn cyd-ymdeimlo mwy â dynion yn eu drygfyd o bob math, nag yn eu hawddfyd. Un wyrth a wnaeth efe i ddangos ei fod yn llawen gyd â'r rhai sy lawen; ond efe a wnaeth lawer gwyrth i ddangos ei fod yn wylo gyd â'r rhai sy'n wylo. Ni cheisiaf fi atteb yr hên ofyniad dyrus hwn; sef, A oes mwy o ddrwg yn y byd nag o dda, neu fwy o ofid ynddo nag o lawenydd; ond hyn a ddywedaf, sef fod ei ofid yn ddyfnach o lawer na'i lawenydd, a bod gan y dŷn Crist Iesu a phob dŷn tosturiol arall, fwy o gyd-ymdeimlad â'r rhai sydd yn galaru nag â'r rhai sydd yn chwerthin. Trueni'r byd yn anad dim arall sydd yn tynnu sylw ac yn cyffwrdd â chàlon y dynion dwysaf. Y patriarch Israel, pa ham nad wyt lawen? Y mae gennyt weision ac anifeiliaid lawer, ac un-ar-ddeg o feibion grymmus. Och, fe fu gennyf ddeuddeg, a Joseph nid yw mwy. Pa fodd, gan hynny, y gallaf fod yn llawen? Haman, pa ham yr wyt ti yn drist, a thithau yn gyfoethoccach ac yn anrhydeddusach na neb ar y ddaear oddi gerth y brenin Ahasferus? Nid yw hyn oll yn llesàu i mi tra fyddwyf yn gweled Mordecai yr Iddew yn eistedd ym mhorth y brenin. Fugail mwyn, beth sydd yn dy

flino di? Y mae gennyt gorff cryf, a chant o ddefaid, namyn un. Oes, namyn un; ac o achos imi golli yr *un* honno yr ydwyf fi yn drallodus. Y mae un anghyssur yn cuddio lliaws o gyssuron, fel y mae un cwmmwl bychan yn cuddio lliaws o sêr. Ac fel y mae anghyssur dŷn yn effeithio mwy na'i gyssuron arno ef ei hun, felly yr un ffunud y mae ei anghyssur yn effeithio mwy na'i gyssuron ar eraill hefyd. Er engraifft, y mae yn fwy naturiol i mi gyd-ofidio â rhieni pan y byddant wedi *colli* plentyn na chyd-lawenhau â hwy pan y byddant wedi cael plentyn. Y mae eu gofid hwy eu hunain yn ddwysach na'u llawenydd; ac am hynny y mae fy nghyd-ymdeimlad innau â hwynt yn eu gofid yn fwy na'm cyd-ymdeimlad â hwynt yn eu llawenydd. Y mae trigolion y ddaear, oddi gerth yn Lloegr, y Spaen a Thwrci yn *ymddangos* yn hytrach yn llawen nag yn drist; er hynny, y mae mwy o dristwch ynghàlon y rhan fwyaf nag sydd yn ymddangos ar eu gwyneb.

Chwi a glywsoch, ond odid, am Carlini, un o gomedïwyr enwoccaf yr Ital, iddo fyned unwaith at feddyg i geisio iachad o'r pruddglwyf parhaus oedd arno. Gan nad oedd y meddyg yn adnabod y chwareuwr yn ei ddillad cyffredin, dywedyd a wnaeth efe wrtho:—"Ai cael gwared o'r pruddglwyf a fynnech? Ewch i'r chwareudy i glywed Carlini; ac wrth lewyrch ei wyneppryd siriol ef, fe ddiflanna'ch prudd-der fel cwmmwl." "Ow, feddyg da," ebe'r chwareuwr, "myfi ydyw Carlini; a phan y bydd fy nhafod yn gyrru chwerthin ar y gynnulleidfa, y pryd hwnnw y bydd fy nghàlon i dristaf." A glywsoch chwi grechwen y llymeitwyr yn y dafarn, neu a welsoch chwi trwy y ffenestr rai yn dawnsio yn hoew yn un o balasdai Pall Mall? A ydynt hwy yno am eu bod yn llawen, ai ynte am eu bod yn gyffredin yn drist? O!

pe gallech ddarllen eu calonnau, neu ynte eu dilyn i'w cartrefi, chwi a ddywedech nad yw eu llawenydd ond modfedd o wynfyd ar lathen o wae.

Er mai trwy wydrau tywyll yr oedd awdwr Llyfr y Pregethwr yn edrych ar y byd, etto ni cham-farnodd efe wrth ddywedyd fod trueni dŷn yn fawr arno. Yr oedd yr Iesu, hyd yn oed yn nyddiau ei gnawd, yn gwybod beth oedd mewn dŷn; ac yr oedd yr olwg ar drueni cuddiedig dŷn yn ennyn ei dosturi ef. Ac yr oedd efe yn gweled nid yn unig y trueni oedd yn guddiedig oddi wrth eraill, ond hefyd y trueni oedd yn guddiedig oddi wrth y truan ei hun. A'r trueni dyfnach hwn, nad oedd y dŷn ei hun yn ei deimlo, oedd yn bennaf oll yn cyffroi teimlad y Gwaredwr. Am hyn y tosturiodd yr Iesu wrth y dyrfa, sef am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail, sef am eu bod yn byw fel pe na buasent hwy eu hunain na neb arall yn gofalu dim am eu heneidiau hwynt. "Na âd fy enaid yn ddiymgeledd," ebe'r Salmydd; ond "na âd fy nghorff yn ddiymgeledd" oedd gweddi agos bob un yn y dyrfa hon. Nid oedd nemmor o honynt yn ystyried fod trueni anianol y ddynoliaeth yn ganlyniad ei thrueni moesol, ac fod yn annichon symmud ymaith yr holl ddrygau sydd *ar* ddynion heb yn gyntaf symmud ymaith y drwg sydd ynddynt. Trueni moesol y byd yw ei drueni mwyaf ofnadwy, pa un bynnag a ydys yn ei deimlo ai nid ydys. A ydych yn tosturio wrth y Sinëaid, y rhai y mae'r prif alluoedd Cristionogol yn eu bygylu ac yn eu hyspeilio, yn unig o achos fod crefydd y genedl heddychol honno yn dyscu iddynt mai gwell goddef cam na'i wneuthur. A ydych yn tosturio wrth yr Indiaid a'r Eifftiaid, y rhai y mae'r Prydeiniaid yn sugno eu gwaed er mwyn brasau eu hunain? A ydych yn tosturio wrth Arabiaid a Matabeliaid hanner noethion, y rhai er mwyn

amddiffyn eu tir a'u teuluoedd, sydd yn gwynebu cawodydd o belennau a ollyngir o fagnelau dinistriol na raid wrth fawr o fedr na gwroldeb i'w trin? Os ydych yn Gristionogion mewn gwirionedd ac nid mewn enw, y mae yn iawn ichwi dosturio wrth y rhain. Er hynny, tosturiwch fwy o lawer wrth y Cristionogion paganllyd sydd yn eu cam-drin; canys y mae'r trueiniaid hyn yn rhy anystyriol i ymwybod â'u trueni. Tosturiwch wrth y neb a gollodd ei arian, a gollodd ei anifeiliaid, a gollodd ei briod, a gollodd ei fraich neu a gollodd ei iechyd; ond tosturiwch fwy wrth y neb a gollodd ei enw da. Tosturiwch wrth y rhai y mae yn well ganddynt fwyniant pechod dros amser na mwyniant crefydd dros byth. Tosturiwch wrth y rhai sy'n treulio eu holl amser hamddenol i chwarau neu i segura, ac wrth y rhai sy yn treulio eu holl fywyd yn ddiamcan. Tosturiwch wrth y trueiniaid nad ydynt yn meddwl nac yn darllen, ac wrth y rhai sydd yn darllen pethau gwael yn lle pethau gwych. Tosturiwch wrth y rheini nad yw yn wiw ganddynt roddi cymmaint a phum munud yn y dydd i hyfforddi eu plant mewn moes a chrefydd, a thosturiwch wrth y plant y mae gorfod arnynt fyned allan i'r byd heb eu cadarnhau âg addysc yr aelwyd.

Y mae y rhain oll ar gyfeiliorn ac yn ddiymgeledd, fel defaid heb ganddynt fugail. Yngenau gŵr o Gymro nid yw dywedyd fod dynion fel defaid heb ganddynt fugail yn rhyw ddywediad mawr; ond yngenau'r Iesu, ac yngenau pob Iddew, yr oedd yn ymadrodd cryf iawn; canys mewn gwlad lom a pheryglus fel gwlad Canaan, yr oedd mwy o angen am fugail nag sydd yn y wlad hon. Yno, o achos fod y porfeydd yn fychain eu maint ac yn ychydig eu nifer, yr oedd yn rhaid i'r bugail arwain ei braidd o fan i fan. Heb law hynny, yr oedd yn rhaid eu gwylio liw dydd, a'u gwylio yn ddyfalach fyth liw nos, ac mewn rhai

mannau ac ar rai amserau, yr oedd yn rhaid eu casclu ynghyd gyd â'r nos, a'u dwyn i'r gorlan, am fod llewod ac eirth a bleiddiaid yn blino'r wlad. Heb fugail, gan hynny, ebrwydd y buasai'r defaid naill ai yn marw o newyn neu ynte yn myned yn ysclyfaeth i wylltfilod. Pwy bynnag o honom ni sydd heb fod o dan amddiffyn ac arweiniad y Bugail mawr, y mae'n byd yn llwm, a'n perygl yn fawr. Pa bethau bynnag y mae'r newyddiaduron yn eu galw yn olygfeydd trist ac ofnadwy, hyn medd fy nhestyn i ydyw'r olwg dristaf o bob golwg—enaid wedi myned ar goll; enaid ar grwydr; enaid yn y niwl ar ddibyn craig; enaid yn y rhew-wynt ar y mynydd moel; enaid o dan luwch o eira, yn gorfod bwytta ei wlân ei hun; enaid o dan balf y byd; enaid yn safn y llew rhuadwy; enaid yn soddi yn y llifeiriant mawr; enaid yn marw o eisieu gwybodaeth. Hynny, medd yr Iesu, sydd yn ofnadwy. Ac fe all enaid fod yn y trueni hwn heb yn wybod iddo ei hun; ac y mae hynny yn drueni *ar* drueni. Pa ham yr wylodd yr Iesu wrth edrych ar y ddinas santaidd? Am nad oedd hi yn gwybod ei pherygl nac yn canfod y ffordd i'w ochel:—"Pe gwybuasit tithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch; eithr y maent yn awr yn guddiedig oddi wrth dy lygaid."

Yn 3ydd, *Pa fodd* y tosturiodd yr Iesu wrth y dyrfa? Yn bennaf oll trwy eu dyscu:—"Efe a ddechreuodd ddyscu iddynt lawer o bethau." Y mae'r ymadrodd yn rhoi ar ddeall ddarfod iddo ymroddi i'w dyscu yn drefnus, yn fanwl ac yn helaeth, ac yn rhoi ar ddeall hefyd na allodd efe ddim gorphen eu dyscu cyn dyfod yr amser i'w gollwng ymaith. Er iddo ddyscu iddynt lawer o bethau, etto yr oedd y dydd yn rhy fŷr iddo allu dyscu pob peth iddynt; ïe, yr oedd ei oes ef yn rhy fèr iddo allu dyscu pob peth, hyd yn oed i'w ddiscyblion ei hun:—"Y mae

gennyf etto lawer o bethau i'w dywedyd wrthych, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon." Heb law hynny, y mae'r amser yn brin :—"Nid ymddiddanaf â chwi nemmor bellach ; canys y mae tywysog y byd hwn yn dyfod." "Ni wyddost ti yr awrhon," ebe fe wrth y pennaf o'r apostolion; "eithr ti a gei wybod ar ol hyn." Ar ol hyn, mi a gaf fwy o hamdden i atteb cwestiynau ac i egluro pethau tywyll. Dechrau dyscu dynion a wnaeth yr Iesu ar y gorau, yn nyddiau ei gnawd ; er hynny, efe a ddyscodd iddynt *lawer* o bethau y pryd hwnnw ; ïe, yn wir, yr holl bethau yr oedd yn anhebgorol iddynt eu gwybod ; ac wrth wneyd hynny, yr oedd efe yn dangos ei dosturi tuag attynt. Pwy sydd yn dangos mwyaf o dosturi wrth blant cyfrgolledig y trefi mawr—ai y neb a roddo iddynt gerdod fawr unwaith neu ddwy mewn ces, ai y neb a ymdraffertho i'w dyscu heb dâl ac heb ddiolch bob Sul ar hyd y blynyddoedd? Yn hytrach nag atteb gofyniad mor hawdd, gofyn a wnaf beth arall :—Pa fodd y dangosodd Duw fwyaf o dosturi tuag at feibion Israel—ai trwy eu gwaredu rhag yr Eifftiaid oedd yn ymlid ar eu hôl, ai ynte trwy eu dyscu fel y dysc gŵr ei fab ei hun, am ddeugain mlynedd yn yr anialwch? Pa un hawsaf i Grist ai dywedyd wrth y claf o'r parlys, "Maddeuwyd i ti dy bechodau," ai dywedyd, "Cyfod, a chymmer i fyny dy wely a rhodia?" Dywedyd a fynnwn i fod y *ddau* beth yna yn haws na gwneuthur y gwirion yn ddoeth. Yr oedd yr Iesu yn gallu maddau pechodau a iachau clefydau dynion yn ebrwydd, a hynny â'i air ; ond er mwyn eu dyrchafu yn llwyr o'u trueni, yr oedd yn rhaid iddo ddyscu iddynt lawer o bethau ; ac yr oedd y dyscu hwnnw yn gofyn amser ac amynedd a llafur. Felly, y prawf gorau a roes yr Iesu yn ei fywyd o'i fawr dosturi tuag at ddynion ydyw'r drafferth a gymmerodd efe i'w dyscu.

Na ddibrisiwn waith yr Iesu fel dyscawdwr. Yr oedd yn hyfryd ganddo ef, pan oedd ar y ddaear, glywed dynion yn ei alw yn ddyscawdwr wedi dyfod oddi wrth Dduw, yn Athro da, ac yn Broffwyd mawr. Nac anghofiwn mai trwy air y gwirionedd a bregethodd efe y mae Duw yn ennill dynion, yn eu rhyddhau, yn eu hail-eni, yn eu santeiddio, ac yn cadw eu heneidiau. Cofiwn mai i ddyscu dynion trwy bregethu yr eneiniwyd Crist, ac y danfonwyd ef i'r byd; mai i ddyscu ac i ddwyn ar gof yr holl bethau a ddywedodd efe y danfonwyd yr Yspryd Glân hefyd; ac mai i ddyscu yr holl genedloedd y danfonwyd yr apostolion. Dyscwch hwynt, ebe fe, gan eu bedyddio, a bedyddiwch hwynt gan eu dyscu; *h.y.*, dyscwch hwynt cyn eu bedyddio, dyscwch hwynt wrth eu bedyddio, a dyscwch hwynt ar ol eu bedyddio. Trwy ddyscu yr ordeiniodd Duw ddyrchafu'r byd o'i drueni, ac am fod dyscu yn beth araf y mae'r byd yn myned rhagddo mor araf. Rhaid ein dyscu i deyrnas nefoedd; ac os awn i nef y nefoedd heb ein dyscu—heb ein dyscu am yr Iesu, heb ein dyscu gan yr Iesu, ac heb ein dyscu yn yr Iesu, fe fydd mor anodd ini fwynhau y nef ag ydyw i Gymro fwynhau gwlad dramor heb fedru iaith y wlad hono. Yscol elfennol—yscol ddarpar ydyw yr eglwys ar y ddaear; ac oni feistrolwn waith yr yscol hon, pa fodd y gallwn dderbyn yr addysc uwch a roddir yn yr yscol nefol? Y mae gan yr Iesu lawer o bethau i'w dyscu ar y ddaear; er hynny, dechrau dyscu y mae efe yma; y mae ganddo etto lawer o bethau eraill i'w dywedyd wrthym pan allom eu dwyn. Fe bery'r Iesu i'n dyscu yn oes oesoedd; ac am hynny ni all efe byth orphen ein dyscu. Yn wir, fe beidiai'r nef â bod yn nef, pe gallai rhywun o'i phreswylwyr ddywedyd rywbryd, "Yr wyf wedi dyscu yma bob peth sydd i'w ddyscu." Yno, fe fydd y gymdeithas ëang ac uchel y byddwn ynddi, ynddi ei hun yn

addysc ini; canys fe a'n dygir at fyrddiwn o angylion, i gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig; at ysprydoedd y rhai cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd, at Dduw, barnwr pawb, ac at Iesu, cyfryngwr y Testament Newydd. Yno, ni a fyddwn mewn *byd* newydd—byd mawr, y bydd tragwyddoldeb ei hun yn rhy fŷr i'w chwilio drwyddo draw. Yn wir, fe gollai'r defaid eu hunain ynddo, oni bae fod yr Iesu yn bugeilio yn y byd hwnnw, fel yn y byd hwn. Ond fe fydd y bugail mor addfwyn a'i fugeiliaeth mor dyner, fel mai Oen fydd ei enw yno:—"Yr *Oen* a'u bugeilia hwynt; yr Oen a'u *bugeilia* hwynt, ac a'u harwain at ffynnonnau bywiol o ddyfroedd"—i Drefriw a Llandrindod y Gymru nefol; i breswylfeydd llonydd, ac i ardaloedd teccaf y wlad well.

Fel bugail y mae'r Iesu yn ein dyscu ar y ddaear. Am ei fod yn fugail y *mae* o yn broffwyd; am ei fod yn fugail y mae o yn frenin; ac am ei fod yn fugail y mae o yn offeiriad hefyd; canys "y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Fe seliodd hwn ei ddysceidiaeth â'i waed; wrth amddiffyn ei braidd fe gollodd hwn ei fywyd. Defaid ar wascar ydyw'r defaid nad oes ganddynt fugail—creaduriaid wedi ymwascaru nid yn unig oddi wrth Dduw, ond hefyd oddi wrth eu gilydd. Gan nad oes iddynt gymdeithas â'r Tad ac â'i Fab ef, Iesu Grist, nid oes iddynt chwaith gymdeithas wirioneddol â'u gilydd. Pa mor agos bynnag ydynt o ran lle, ar eu pennau eu hunain y maent yn byw, ac ar eu pennau eu hunain y byddant farw. Pan rodiant ar hyd glyn cyscod angau, ni bydd neb gyd â hwynt; a phan y byddant wedi myned *trwy* y glyn i'r ëangder noeth sydd y tu hwnt iddo, ni bydd neb gyd â hwynt yno. Dynion unig a digysur fyddant, yn crwydro yn ddiamcan yn nifeithwch diderfyn tragwyddoldeb.

A oes etto rywrai yma ar wascar ar hyd y mynyddoedd, fel defaid heb ganddynt fugail? Dychwelwch i'r gorlan, wrth lais y Bugail da. Nac yscowch yr hwn sydd yn eich ceisio. A ydych yn rhy gloff neu yn rhy wan i gerdded? Os hynny sydd yn eich rhwystro, efe a'ch dyd ar ei yscwyddau ei hun yn llawen. Efe a ddwg yr ŵyn yn ei fynwes, ac a goledda'r mammogiaid. Y mae efe mor dyner ac mor dringar fel y mynnai hyd yn oed eich achub yn y ffordd esmwythaf ag sy bossibl. Y mae efe mor fawr fel y mae yn gallu tosturio wrth dyrfa—wrth fyd; ac ar yr un pryd y mae yn llawenhau yngwydd yr angylion am un pechadur a edifarhao. Ysywaeth, y mae mwy yn rhoi achos iddo i dosturio wrthynt nag sydd yn rhoi achos iddo i lawenhau o'u plegid. Ond pa mor fawr bynnag yw tosturi yr Iesu tuag attoch, ni thycia ei dosturi ef ddim, oni thosturiwch chwithau wrthych eich hunain; a'r ffordd orau ichwi dosturio wrthych eich hunain ydyw trwy edrych o honoch arno ef yn tosturio wrthych. Sylwch, y mae efe yn tosturio wrth eich gweled; y mae dagrau yn byrlymmu o'i lygaid wrth edrych arnoch. Pa nifer o honoch, trwy ddychwelyd at Fugail ac Escob eich eneidiau, sydd yn barod i droi ei dosturi yn llawenydd?

IX.

## Y DDAU WIN.

"*Ac nid oes neb, gwedi iddo yfed gwin hên, a chwennych y newydd yn y fan: canys efe a ddywed, Gwell yw yr hên.*"——LUC V. 39.

Y MAE'R "ac" yn nechrau yr adnod hon yn ei chyssylltu nid yn unig â'r tair dammeg fer sydd o'i blaen, sef dammeg y gwin newydd mewn hên grwyn, dammeg y clwt newydd ar hên ddilledyn, a dammeg cyfeillion y priodfab, ond hefyd â'r hanes am alwad Lefi, a gyfenwid Matthew, i fod yn apostol. Yn lle bod yn hwyrfrydig, fel y Phariseaid a discyblion Ioan, chwennychodd a derbyniodd Lefi win newydd yr Iesu yn y fan. Cyn gynted ag y dywedodd yr Iesu wrtho "Dilyn fi," gadawodd yntau bob peth, a chyfododd i fyny, ac fe'i dilynodd ef. Ond yr oedd gwneuthur hynny yn haws iddo ef nag i'r Phariseaid a discyblion Ioan, o blegid nid oedd ganddo ef un grefydd i'w gadael. Gan ei fod yn un o gasclyddion y doll Rufeinig, gŵr digrefydd yscymmyn oedd efe, heb ganddo fraint aelod o'r eglwys Iddewig. Felly, yr oedd gwaith yr Iesu yn ordeinio dŷn a fwriesid allan o'r synagog yn un o'i apostolion yn dramgwydd dirfawr i'r Iddewon, yn enwedig i'r sect fanylaf o honynt. Digiodd yr Iesu yr Iddewon yn fwy fyth trwy dderbyn gwahoddiad gan Lefi i gyd-fwytta âg ef a phublicanod eraill, mewn gwledd a wnaeth efe yn ei dŷ. Amddiffynnodd yr Iesu ei hun trwy ddywedyd mai Gwaredwr oedd efe; ac nad oedd yn fwy chwithig iddo ef gan hynny ymdroi ym mhlith pechaduriaid nag oedd i feddyg ymdroi ym mhlith

cleifion. Ond y mae yn ymddangos, yn ol efengyl Marc, nad cyd-fwytta â phublicanod a phechaduriaid oedd unig drosedd yr Iesu, eithr cyd-fwytta â hwynt ar un o ddyddiau ympryd yr Iddewon. Yn eu golwg hwy, yr oedd hynny yn ymddygiad mwy haerllug fyth. Gallasai'r Iesu, yn wir, gyfiawnhau ei hun trwy ddywedyd nad oedd dyled ar neb ymprydio mwy nag unwaith yn y flwyddyn, yn ol cyfraith Moesen; ac mai ufuddhau i orchymmyn dynion diawdurdod yr oeddid, wrth ymprydio mor fynych a dwy waith yn yr wythnos. Ond fe ddewisodd efe ymgyfiawnhau, yn hytrach, trwy ddywedyd nad oedd yn weddus i'w ddiscyblion ymprydio tra yr oedd efe gyd â hwynt; mai y priodfab oedd efe, a ddaethai i'r byd i gyrchu ei ddyweddi o dŷ ei thad i'w dŷ ei hun, ac mai cyfeillion y priodfab oedd ei ddiscyblion, mai amser i wledda ac i fod yn llawen oedd yr amser hwn; ac mai mis yr afiaith, mai mis mêl oedd yr holl amser rhwng yr awr y bedyddiwyd ef â dwfr yr Iorddonen a'r awr y bedyddid ef â'i waed ei hun. Fe ddelai'r dydd y dygid yr Iesu oddi ar ei ddiscyblion, megis trwy drais; a'r pryd hwnnw byddai yn weddus iddynt hwythau ymprydio, ond nid yn hir chwaith; canys ym mhen rhyw dri mis ar ol ei farw, ymwelai efe â hwynt drachefn trwy ei Yspryd, nes peri i'w càlon lawenychu. Pe Iesu marw a fuasai gyd â ni, buasai yn weddus ini dynnu'r llenni dros y ffenestri, ac ymwisco mewn du, a bwytta bara mewn distawrwydd ac mewn tristwch, fel plant amddifaid ar gychwyn tua'r fynwent; ond gan mai Iesu byw sy gyd â ni, dylem olchi'n hwyneb ac eneinio'n pen, bwytta'n lluniaeth mewn llawenydd, ac ymddwyn ym mhob peth fel pe baem mewn gwledd briodas. Dan oruchwyliaeth gras yr ŷm ni yn byw; ac fe ddylai goruchwyliaeth gras fod yn oruchwyliaeth lawen. Y mae'r Iesu yn dangos nad oedd ympryd y Pharisëaid ddim yn cydweddu â'i efengyl ef; nad oedd cyssylltu ei

grefydd ef â chrefydd lygredig y Pharisëaid, a hyd yn oed â chrefydd ddiwygiedig Ioan Fedyddiwr ddim amgen na dodi clwt newydd ar hên ddilledyn, neu ddodi gwin newydd mewn hên grwyn. Trwy geisio cyfuno dwy grefydd a oedd o ran eu hegwyddor, eu hyspryd a'u hamcan, mor wahanol i'w gilydd, fe niweidid y ddwy; canys wrth gymmeryd darn o'r grefydd newydd i drwsio'r hên, fe beidiai'r newydd â bod yn gyflawn; ac wrth gyssylltu'r darn hwnnw â'r hên grefydd, fe beidiai hono â bod yn gysson â hi ei hun. Hyd yn oed pe gellid cyfuno'r ddwy grefydd heb dyllu'r newydd a rhwygo'r hên, gwrthun iawn yr olwg a fyddai'r cyfuniad. Clytwaith anghelfydd fyddai'r grefydd gyfunedig, ac nid mantell ddiwnïad. Ni chyttunai'r wraig rydd â'r gaethes, ac nid â'i deuddyn a ieuwyd yn anghymharus byth yn un cnawd. Ymdaraw yn erbyn eu gilydd a wnai rhyddid yr efengyl a chaethiwed y ddeddf:—"Os o ras y mae cadwedigaeth, nid yw o weithredoedd mwyach; os amgen, nid yw gras yn ras mwyach; ac os o weithredoedd, nid yw o ras mwyach, os amgen nid yw gweithred yn weithred mwyach." Y mae gras yr efengyl yn cau allan weithredoedd, a gweithredoedd y ddeddf yn cau allan ras:—"Nid yw llain o'r dilledyn newydd yn cyttuno â'r hên."

Heb law hynny, nid oedd y *dynion* a oedd yn ymlynu wrth hên grefydd yr Iddewon ddim yn gyfryngau cymmwys i ddwyn gras yr efengyl i'r Cenedloedd. Hên grwyn wedi ymsychu ac ymgrebachu oedd y scrifennyddion a doctoriaid y gyfraith. Yr oedd eu henaid hwy yn rhy gul i dderbyn ac i gynnwys gwin newydd yr efengyl; am hynny, yr oedd yn rhaid wrth ddynion ëangach ac ystwythach eu càlon i fod yn apostolion y grefydd newydd. Pa mor ddinod bynnag oedd Mathew y publican, yr oedd yn ŵr diragfarn; canys pan gynnygiwyd

iddo'r gwin newydd, fe'i chwennychodd yn y fan. Yr oedd ganddo gàlon hawddgar a da; hynny ydyw, yr oedd ganddo gàlon a oedd yn ddigon hydwyth i ymëangu fel yr oedd y gwin newydd yn ymweithio ac yn ymchwyddo o'i mewn. Yn ei barodrwydd i dderbyn crefydd newydd Crist, yr oedd efe yn rhagori ar y Phariseaid, yn rhagori ar ddiscyblion Ioan hefyd; ïe, yn rhagori ar Ioan ei hun; canys er fod Ioan, ar y cyntaf, wedi tystiolaethu mai'r Iesu ydoedd y Messia, etto, wrth ei weled yn ymbellàu fwy-fwy oddi wrth Iddewiaeth, aeth efe yn y man i ammau ai yr Iesu ydoedd y Crist. Felly, yn lle dilyn yr Iesu, ymgadwodd efe ar wahân, gan barhau i bregethu ei hên bregeth, i fedyddio â'i hên fedydd, ac i gadw cynnifer ag a allai o'i hên ddiscyblion; ac er nad oedd dim cynnen rhwng y ddau athraw, yr oedd rhywfaint o gynnen rhwng discyblion y ddau.

A ydyw yr Iesu yn beio ar Ioan a'i ddiscyblion am ymgadw yn sect wahanedig yn lle ymuno âg ef? Ydyw, y mae yn eu beio yn gynnil yn y tair dammeg. Er hynny, y mae yn y testyn yn dangos ei fod yn cydymdeimlo â hwynt ar yr un pryd, trwy roi ar ddeall fod yn annawdd iddynt hwy ei ddilyn mor ddiymdroi ag y gwnaeth Mathew. Er nad yw efe yn eu hescuso hwynt am nad oeddynt wedi chwennychu gwin newydd, etto y *mae* yn eu hescuso hwynt am nad oeddynt wedi ei chwennychu yn y fan. Nid oedd efe yn cyd-ddwyn o gwbl â'r Phariseaid a oedd yn gwrthod y gwin newydd yn benderfynol; ond y *mae* yn cyd-ddwyn âg Ioan a'i ddiscyblion am eu bod yn *hwyrfrydig* i dderbyn y gwin newydd:— "Nid oes neb, gwedi iddo yfed gwin hên, a chwennych y newydd yn y fan; canys efe a ddywed, Gwell yw'r hên." Gwin newydd ei wascu o'r grawn yw gwin newydd. Y mae hwn ym mhen tridiau neu bedwar yn dechrau ym-

weithio o hono'i hun, trwy fod y sugr sydd ynddo yn troi yn wirf, sef yn alcohol; y mae yn parhau i ymweithio hyd rhwng y 7fed a'r 9fed dydd; ac yna, y mae yn ymsefydlu, yn ymloewi ac yn ymfeluso. Po hwyaf y cedwir ef, melusaf oll fydd; er ei fod wrth ei gadw yn myned yn fwy meddwol. Cyn ymweithio, y mae yn ferfaidd ei flas, ac wrth ymweithio y mae yn sur ac yn egr. Ychydig iawn o yfed sydd ar win newydd yn un o'i ddau gyflwr, am nad yw yn cyttuno âg archwaeth ac â chylla dynion. O'r ddau, y mae hên win yn ddiniweitiach na gwin newydd, os peidir âg yfed llawer o hono. O ran hynny, ychydig sy'n cael eu temtio i yfed gormod o win dilwgr; canys yn y parthau y mae gwin yn ddiod gyffredin y mae lleiaf o feddwi; ac yno y mae lleiaf o chwant am gwrw a gwirodydd; y mae ymarfer â gwin yn lladd y chwant am y diodydd cryfion hynny, ac y mae ymarfer â'r diodydd hynny yn lladd yr awydd am win. Am hynny, y mae Llywodraeth Ffraingc, er mwyn dyscu'r Llydawiaid a'r Normaniaid i fod cyn sobred a'r Ffrangcod, yn eu hannog i yfed gwin yn lle sidr. Os clywsoch ryw ddirwestwr mwy ei zêl na'i wybodaeth, yn haeru fod y gwin a yfodd ef yn Swpper yr Arglwydd wedi ail ennyn ynddo chwant am gwrw a gwirodydd, gellwch fod yn sicr nad gwir win ydoedd hwnnw. Y mae'r Ffrangcod yn cwyno nad yw yn wiw iddynt hwy ddanfon eu gwinoedd eu hunain i Brydain; ac am hynny, fod yn rhaid iddynt ddarparu gwinoedd arbennig i gyfarfod â chwaeth y Prydeiniaid, sef gwinoedd wedi eu cymmysgu a'u cryfhau â gwirodydd. Y rhain, neu ynte winoedd cartrefol wedi eu gwneuthur o faip neu gloron neu gyffion hên goed, yw'r gwinoedd mwyaf cymmeradwy yn y wlad hon. Am y gwinoedd anfeddwol a ddyfeisiwyd yn ddiweddar i ddirwestwyr, yr ydys wedi profi nad oes yn y rhan fwyaf o honynt hwy ddim dyferyn o win.

Er mai gwir yw fod hên win yn well na gwin newydd i'r genau ac i'r cylla, etto nid rhoi ar ddeall ei fod yn well ynddo'i hun yw bwriad yr Iesu, eithr yn unig ei fod yn well gan y sawl a fo wedi hir ymarfer âg ef. Yn ol un copi o'r efengyl, nid oes un gymhariaeth rhwng gwerth y ddau win; canys y mae'r adnod yn y copi hwnnw yn diweddu fel hyn :—" Da yw'r hên, neu, melus yw'r hên." Yr un ffunud, nid oedd hên grefydd yr Iddewon yn well neu yn felusach ynddi ei hun na chrefydd yr Iesu, eithr yr ydoedd hi felly i'r rhai a fagwyd yn y grefydd hono. Dywedyd y mae'r Iesu wirionedd sy'n amlwg i bawb, sef fod yn naturiol i ddŷn chwennychu'r hên yn fwy na'r newydd, yn unig am ei fod wedi ymgynnefino â'r hên. Yr ydys yn cyhuddo rhai o chwennychu'r newydd ym mhob peth yn fwy na'r hên; ond ychydig yw nifer y rhai sy'n chwennychu'r hên yn fwy na'r newydd. Pa ham y mae mor anawdd troi Paganiaid, Mohammediaid ac Iddewon yn Gristionogion, ac mor anawdd troi Catholigion yn Brotestaniaid? Ië, pa ham yr ydym ni yn Fethodistiaid? Y mae y rhan fwyaf o honom yn Fethodistiaid am ein bod wedi'n magu yn Fethodistiaid, ac nid am ein bod trwy ymchwiliad dyfal a diragfarn, wedi'n hargyhoeddi fod ein cyfundeb ni yn well na rhyw gyfundeb arall. Y mae'n haws gennym dderbyn hên Gyffes Ffydd ein tadau na gwneuthur Cyffes Ffydd i ni ein hun.

Er ein bod yn Brotestaniaid o ran proffes, etto Pabyddion ydym o ran cred, am ein bod fel hwythau, yn gwadu egwyddor sylfaenol Protestaniaeth, sef hawl pob dŷn i farnu drosto'i hun. Gan ein bod ni mor gyndyn i adael yr hên ac i dderbyn y newydd, pa ham yr ydym yn rhyfeddu cymmaint wrth gyndynrwydd crefyddwyr eraill? Meddylier mor ammharod fu Cristionogion i dderbyn y

gwirionedd am faint a threigl yr haul, y lloer a'r sêr; am ffurfiad ac oedran y ddaear; ïe, meddylier mor amniharod ŷnt yr awr hon i dderbyn y gwirionedd am ddechreuad ac ymddadblygiad bywyd ar y ddaear; ac mor adgas ganddynt y goleuni newydd y mae'r beirniaid dyscediccaf yn ei fwrw ar lyfrau'r Beibl. Y mae yn wir y byddant, ar ar ol hir ymladd, yn ildio bob amser; ond ildio yn araf ac yn anrasol iawn y byddant. Rhaid, meddwch, eu bod naill ai yn anonest neu ynte yn anwybodus iawn wrth garu'r tywyllwch yn fwy na'r goleuni—wrth garu hên gyfeiliornadau yn fwy na gwirioneddau newyddion? Na raid; y mae modd esponio'u hymddygiad heb eu cyhuddo o anonestrwydd, na hyd yn oed o anwybodaeth. Onid ych yn cofio nad oes neb, wedi iddo ymarfer âg yfed gwin hên, a chwennych y newydd yn y fan?

Er fod Cristionogaeth bellach yn hên, etto, bu unwaith yn newydd; ac am ei bod yn newydd yr oedd mor anawdd gan yr Iddewon ei derbyn. Y mae yn wir ddarfod i filoedd o'r Cenedloedd ei derbyn gyd â phob parodrwydd meddwl; ond gwnaethant hwy hynny, am nad oedd ganddynt hên grefydd. Yr oedd athronyddion Groeg a Rhufain wedi llwyddo i ddinistrio hên grefyddau'r paganiaid, fel nad oedd dim ond gweddillion o honynt yn aros; am hynny, yr oedd y rhwystr pennaf oedd ar ffordd Cristionogaeth wedi ei symmud ymaith. Yr oedd i'r efengyl ddrws agored i'r byd paganaidd. Crefydd yr Iddewon oedd yn eu rhwystro hwynt i dderbyn Cristionogaeth. Yr oedd pobl ddigrefydd fel y publicanod a'r pechaduriaid yn ei derbyn. A pho gorau fo crefydd dynion, anhawddaf oll ganddynt ei gadael. Yr oedd crefydd yr Iddewon, yn ddiau, o Dduw; fe'i rhoddwyd trwy Moses, y gŵr godidoccaf a ymgododd yn Israel; fe'i canmolwyd gan Dafydd, brenin anwylaf Israel, ac fe'i

cadwyd yn fyw gan liaws o broffwydi. Pa ryfedd, gan hynny, fod yr Iddewon yn ammharod i gredu nad oedd yr hên grefydd hono ddim amgen na chrefydd dda i aros crefydd well?

Nid yw Duw yn gofyn i ni, Gristionogion, dderbyn crefydd newydd, eithr yn unig groesawu goleuni newydd ar y grefydd sy gennym; ac etto, y mae yn ormod gan lawer o honom wneuthur cymmaint a hynny. Nid ŵyf finnau yn gofyn i neb dderbyn *gwirionedd* newydd; o blegid, a llefaru yn fanwl, nid oes gwirionedd *newydd;* y mae pob gwirionedd yn newydd a hên; y mae fel Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un ac yn dragywydd, Ond os nad oes y fath beth a gwirionedd newydd, y mae'r fath beth a golwg newydd ar y gwirionedd. Yn yr oes hon, y mae syniadau dynion am y gwirionedd yn ymnewid, ond y mae'r gwirionedd ei hun yn aros yn ddigyfnewid. Gwyddoch fod darganfyddiadau gwyddonol ac ymchwiliadau beirniadol, yn gwneuthur chwyldroad mewn diwinyddiaeth ac esponiadaeth scrythyrol, ac y mae llawer yn ofni y pair hynny ymadawiad llwyr oddi wrth y ffydd; ond nid oes dim achos i ofni; canys nid yw Cristionogaeth yn dibynnu ar ddiwinyddiaeth Gristionogol. Y gwir ydyw fod diwinyddiaeth o'r dechreuad yn ymnewid o oes i oes, yn ol yr athroniaeth, y wyddoniaeth, a'r ddeddfwriaeth a fyddo mewn bri. Y pethau hyn sy'n rhoddi iddi hi ei lliw a'i llun. Y mae systemau diwinyddol yn myned heibio y naill ar ol y llall, am mai o ddynion y maent hwy; ond gair yr Arglwydd a saif yn dragywydd, am ei fod ef yn air y gwirionedd. Y mae crefyddau yn darfod o un i un, ond fe bery crefydd; am fod crefydd yn rhan o natur dŷn, ac felly yn anghenrhaid iddo. Y mae yn fwy na thebygol y bydd raid ini ar fyrder fwrw heibio amryw o hên athrawiaethau Pabyddol yr esceulusodd y

Diwygwyr Protestanaidd eu bwrw heibio; ond diwygiad ac nid dirywiad a fydd hynny. Fel y darfu i adfywiad addysc glasurol beri chwyldroad crefyddol yn yr unfed ganrif ar bymtheg, felly y mae cynnydd addysc gyffredinol yn peri chwyldroad crefyddol mwy yn y ganrif hon. Amser peryglus, yn ddïau, ydyw amser pob chwyldroad; canys y mae'r anhawsder i wahaniaethu rhwng y pethau sy'n diflannu a'r pethau sy'n aros yn siglo ffydd rhai; ond ni phery yr amser hwnnw ddim yn hir; diwedd a ffrwyth y cwbl fydd puro crefydd, trwy ei gwneuthur yn fwy syml ac yn fwy ymarferol.

Pan ddechreuo'r pethau hyn ddyfod, edrychwch i fyny, a chadwch eich pennau; canys y mae'ch ymwared yn nesàu. Nac anobeithiwch am y dyfodol; fe ofala Duw am ei wirionedd. Chwychwi dadau y sy wedi ymarfer âg yfed hên win, na frawychwch wrth weled eich plant yn chwennychu gwin newydd. Na phryderwch ynghylch arch Duw Israel, er iddi syrthio i ddwylaw'r Philistiaid. Ym mhen ychydig flynyddoedd fe'i dygir yn ol, nid i Silo mwyach, eithr i ddinas y brenin, a hynny ynghanol canu a dawnsio.

Yr wyf wedi dyweyd nad ydys yn gofyn i ni dderbyn crefydd newydd, eithr yn unig ddiwinyddiaeth newydd; na Beibl newydd, eithr yn unig goleuni newydd ar yr hên Feibl; ond yr oedd yr Iesu yn gofyn i'r Iddewon dderbyn *crefydd* newydd. Y mae yn wir fod y grefydd newydd yn gyssylltiedig a'r hên grefydd, ac mewn mesur yn seiliedig arni. Er hynny, y mae Cristionogaeth yn rhywbeth amgenach nag ymddadblygiad o Iddewiaeth. Y mae hi yn gyfammod newydd; ac y mae iddi ammod newydd. Y mae iddi yspryd newydd a chorff newydd. Yr oedd yr hên grefydd, fel y newydd, yn dywedyd "Câr Dduw a

châr ddŷn;" ond y mae'r newydd yn rhoddi nerth i'w caru, a thrwy ddangos fod Duw yn Dad ini, a phob dŷn yn frawd ini, y mae hi yn dangos fod Duw a dŷn yn haeddu eu caru. Yr ydoedd mesur o wir yn yr hên grefydd; ond gwirionedd oer, di-waed, di-gnawd ydoedd. YNghrist yr ymgorfforodd y gwirionedd. Ynddo ef, aeth y peth yn berson; a pherson a ellir ei garu. Nid traethu'r gwirionedd a wnaeth efe, eithr bod yn wirionedd. Pan yn cyfeirio dynion at y gwirionedd, nid at lyfr y byddai yn eu cyfeirio, eithr atto'i hun, gan ddywedyd, "Myfi yw'r gwirionedd." Nid gair a glybuwyd ydoedd ei air ef, eithr gair a welwyd, ac a deimlwyd â dwylaw—gair byw; ac am hynny y mae Ioan yn ei alw yn "Air y bywyd." Gwirionedd a fu byw; ïe, gwirionedd a fu farw, yw'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Trwy farw y cafodd y gwirionedd adgyfodiad gwell; bydd efe byw byth, am ddarfod iddo farw unwaith. Pan ddywedodd yr Iesu wrth eraill, "Cerwch eich gelynion," fe wnaeth hynny ei hun, a hynny, nid ar air yn unig, eithr ar weithred—bu farw drostynt; ac am y bu yn wiw ganddo ef farw dros ddynion y bu yn wiw gan gynnifer o ddynion farw er ei fwyn ef. Y mae rhai yn edliw nad oedd yr Iesu ddim yn bregethwr gwreiddiol iawn, am fod y prif bethau a ddywedodd efe yn y bregeth ar y mynydd i'w cael yn llyfrau yr hên Rabbiniaid Iddewig, ac yn llyfrau hên baganiaid Tir Groeg a Rhufain a'r India; ond nid yw gwreiddioldeb yn gynnwysedig yn unig mewn dywedyd pethau hollol newydd, eithr yn hytrach mewn rhoddi yspryd a bywyd newydd mewn hên bethau cyffredin. Y mae pawb yn addef na adawodd Duw mono'i hun yn ddi-dyst yn yr hên amseroedd; ei fod ef yn goleuo'r byd trwy y Gair tragwyddol, cyn ei oleuo trwy yr Emmanuel; ond goleuni pŵl, gwascaredig, fel goleuni'r dydd cyntaf, oedd yn tywynnu ar yr hên fyd Ar y pedwerydd dydd yr ym-

ddangosodd yr haul; ynghyflawnder yr amser y crynhowyd y goleuni gwascaredig yn un clobyn crwn ynghanol y ffurfafen. Yr haul sy'n rhoi goleuni cryf a gwresog. Yr ydys yn dywedyd y gall coed a llysiau ddeilio dan lewyrch goleuni trydanol; ond dan lewyrch yr haul yn unig y ffrwythant. Diolch i'r goleuni cyffredin, y sy'n goleuo pob dŷn a'r sy'n dyfod i'r byd, fe gafwyd dail gwych ar athronyddion Groeg a Rhufain; ond pa ffrwyth a ddygasant? Pa faint o'u hôl a wnaethant ar werin eu gwlad eu hunain, heb sôn am werin gwledydd eraill? Y mae goleuni athroniaeth yn rhy wan ac yn rhy oer i effeithio ar y lliaws; goleuni'r efengyl sy'n gwresogi; Iesu Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio, sy'n ennyn eu cariad.

Yr oedd mwy o wirionedd mewn Iddewiaeth nag mewn paganiaeth; ond nid oedd ynddi hithau ddigon i oleuo'r holl fyd. Hynny o wirionedd ac o foesoldeb a'r a ydoedd ynddi, fe'u tynnodd yr Iesu i'w grefydd ei hun:—"Ni ddeuthum i dorri'r gyfraith, ond i'w chyflawni." Cofier, er hynny, fod yr Iesu wrth ei chyflawni yn ei therfynu. Nid diwygiwr, fel Ioan Fedyddiwr, ydoedd efe, eithr Newyddwr, Chwyldrodwr. Fe ddaeth â'i wyntyll yn ei law, i *lwyr* lanhau ei lawr dyrnu. Nid hên win, wedi ei egru âg ychydig o win newydd a gynnygiodd efe i'r Iddewon, eithr gwin arall cwbl wahanol—gwin o'r gwinwryf a sathrodd efe ei hun. Yr oedd pob peth yn newydd, hyd at y llestri a oedd yn dwyn y gwin. Nid oedd ryfedd gan yr Iesu na chwennychodd yr Iddewon mono yn y fan; ond yr ydoedd yn rhyfedd ganddo na chwennychasant ef yn fuan nac yn hwyr.

Y mae'r gwin newydd erbyn hyn wedi myned yn hên, fel nad oes gennym ni ddim escus am beidio â'i chwennychu yn y fan. Hwn ydyw'r unig win sydd yn y

farchnad mewn gwlad Gristionogol. Nid oes gennym ni, mwy na'r publicanod a'r pechaduriaid, un grefydd arall i'n hattal rhag derbyn crefydd Crist. Y mae Derwyddiaeth, yn wir, yn grefydd hynach na chrefydd yr Iesu. Yr oedd hi yn ein gwlad cyn dyfod Cristionogaeth iddi. Ond y mae Derwyddiaeth wedi darfod am dani er ys oesoedd lawer—wedi darfod mor llwyr fel na ŵyr y cyffredin pa fath grefydd ydoedd. Felly, os nad ŷm wedi derbyn crefydd yr Iesu, yr ydym ni heb un grefydd. Pobl ddi-grefydd ydym, fel y publicanod a'r pechaduriaid. Pa beth, gan hynny, sy'n ein hattal rhag chwennychu'r gwin newydd yn y fan? Y gwin newydd hwn yw'r gwin hynaf hefyd yn ein plith ni. Hwn a yfodd eich tadau a'ch teidiau. Y mae hwn yn myned yn felusach o flwyddyn i flwyddyn wrth heneiddio; pa ham, gan hynny, nad y'ch yn ei flysio? Ni ellwch chwi ddywedyd "Gwell yw'r hên," o blegid y mae'r gwin newydd yn hên. Ni ellwch ddywedyd chwaith "Gwell yw'r newydd," o blegid y mae efe yn parhau yn newydd. "Y brodyr, nid gorchymmyn newydd yr ŵyf yn ei scrifennu attoch, eithr gorchymmyn hên, yr hwn oedd gennych o'r dechreuad." "Trachefn, gorchymmyn newydd yr ŵyf yn ei scrifennu attoch, yr hwn sydd wir ynddo ef ac ynoch chwithau." Y mae'r efengyl ar unwaith yn hên ac yn newydd. Chwychwi edmygwyr pob peth hên, a chwithau edmygwyr pob peth newydd, pa ham yr ydych yn cyttuno i wrthod yr efengyl hon?

Dywedaf wrthych pa beth yw ystyr yr ymadrodd "Gwell yw'r hên" yn eich genau chwi—gwell yw'r hên ddŷn na'r dŷn newydd; gwell yw'r hên anian na'r anian newydd. Ac y mae yn well gennych yr hên ddŷn na'r dŷn newydd, am ei *fod* yn hên; sef am ei fod gyd â chwi er y dydd y'ch cenedlwyd. Yr hên ddŷn anghynnes hwn

a gafodd yr afael gyntaf arnoch ; ac y mae, fel corff y farwolaeth, yn dal ei afael ynoch yn dyn. Yr ŵyt ti a'r hên ddŷn ynghwrs amser wedi ymddygymmod â'ch gilydd, a myned yn un â'ch gilydd; a chan nad yw'r gwin newydd yn dygymmod â genau ac â chylla'r dŷn hwnnw, nid yw yn dygymmod â thithau. Y mae efe yn rhy sur ac yn rhy lym gennyt. Melusach yw pob peth gennyt na'r gwin newydd? Cyn y gelli flysio'r gwin newydd, rhaid iti farwhau yr hên ddŷn, a gadael i Dduw greu dŷn newydd ynot. Gyd â'r dŷn newydd, cei chwaeth newydd, fel y bydd y gwin newydd yn win melus gennyt.

Bechadur, a ddywedi di mewn difrif mai gwell yw dy hên gàlon na chàlon newydd, ac mai gwell yw dy hên fuchedd na buchedd newydd. Os ŷnt yn well *gennyt* ti, yn sicr, nid ŷnt yn well ynddynt eu hunain. Beth! a ydyw du yn lliw gwell na gwyn? Ai teccach yr aflan na'r glân? A ydyw'r oedrannus yn ireiddiach ac yn hawddgarach na'r ieuangc? Nid yw'r fath gwestiynau a'r rhain yn gofyn eu hystyried cyn eu hatteb. Oni chymmeraist ti eisoes fwy na digon o amser i ystyried, ac yr ŵyt etto heb atteb. Os ŵyt mewn gwirionedd yn chwennychu càlon newydd, pa ham nad ŵyt yn ei chwennychu yn y fan? Os ŵyt ar fedr diosc yr hên ddŷn, pa ham nad ŵyt yn ei ddiosc yn ddioed? Po hwyaf yr ŵyt yn ymlynu wrth yr hên ddŷn, tynnaf oll y mae yntau yn ymglymmu am dy enaid. Po hwyaf y parhaot i yfed hên win y diafol, lleiaf oll fydd dy awydd am brofi gwin newydd Iesu Grist. Pa beth, gan hynny, yr ŵyt yn ennill wrth oedi?

Y mae Duw yn hynach na thydi; yn hynach na'r hên ddŷn, yn hynach na'r diafol—yr Hên Ddihenydd yw ei enw; er hynny, y mae efe yn ddigon ieuangaidd ei yspryd

i chwennychu'r newydd. Fe wnaeth ddŷn; ond nid yw yn foddlon arno fel y mae—y mae yn ewyllysio ei wneuthur yn ddŷn newydd. Fe wnaeth ddaear; ond nid yw hono mwyach wrth ei fodd; am hynny y mae ar fedr gwneuthur daear newydd. Fe wnaeth nefoedd; ond y nefoedd nid ydynt lân yn ei olwg ef; am hynny, y mae yn bwriadu creu nefoedd newydd. Dywedodd efe "Da iawn" uwch ben yr hên greadigaeth; er hynny, nid da lle y gellir gwell; am hynny, pan orphenno efe y greadigaeth newydd y clywir ef yn dywedyd "Perffaith."

Bechadur, y mae yn chwithig dy weled di yn fwy Ceidwadol na'th Greawdr, ac yntau wedi byw gymmaint hwy, ac wedi gweled cymmaint mwy na thi. Er doe yr ydwyt ti, ac yr ŵyt yn beiddio dywedyd "Gwell yw'r hên." Y mae Duw er tragwyddoldeb, ac y mae efe yn dywedyd "Gwell yw'r newydd." Brysiwn oll i gredu mai Duw a'i Fab a ŵyr orau.

Gristion, a brofaist ti, ac a gefaist ti flâs ar win newydd yr efengyl? Os felly, cei win hynach a melusach yn y man. Pan aner mab i ambell ŵr bonheddig, bydd hwnnw yn pottelu gwin y flwyddyn hono, ac yn ei gadw heb ei ollwng allan hyd oni ddelo'r mab i'w oed. Pan ddelot tithau i'th oed y dygir allan y gwin detholedig. Y mae Duw yn addaw cyssuro'i blant â phottelau—â phottelau nad agorwyd monynt erioed o'r blaen. Y mae efe yn cadw'r gwin gorau hyd yn olaf. Y mae'r gwin yr ydys yn ei gadw erbyn y dydd y delot i'th oed, yn win a lawenycha gàlon Duw a dŷn. Byddi yn ddigrif dros byth wrth yfed y gwin hwn. "Ar fy neheulaw," medd Duw, "y mae digrifwch yn dragywydd." Ar ei ddeheulaw ef, ac wrth ei fwrdd ef, fe'th lenwir â'r Yspryd Glân. Dyma win y gelli ymlenwi âg ef heb ymfeddwi arno, dyma win

a'th siriola heb beri iti golli dy ben na cholli dy draed; canys er ei fod yn felus fel gwin hên, y mae mor anfeddwol â gwin newydd; ac am hynny y dywedodd yr Iesu, "Nid yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y winwydden hyd y dydd pan yfwyf ef gyd â chwi, yn newydd, yn nheyrnas fy Nhad."

Mae heddyw felus wledd
Mewn *prawf* o hyfryd hedd,
  Trwy Grist a'i gur;
D'yw hyn ond codiad gwawr,
Caiff plant y cystudd mawr
*Iawn* wleddoedd, uwch y llawr,
  Mewn mwyniant *pur*.

# X.

## PWY YW FY NGHYMMYDOG?

"*Eithr efe, yn ewyllysio ei gyfiawnhâu ei hun, a ddywedodd wrth yr Iesu, A phwy yw fy nghymmydog? A'r Iesu gan atteb a ddywedodd, Rhyw ddyn oedd yn myned i waered o Jerusalem i Jericho, ac a syrthiodd ym mysg lladron; y rhai wedi ei ddïosc ef, a'i archolli, a aethant ymaith, gan ei adael yn hanner marw. Ac ar ddamwain, rhyw offeiriad a ddaeth i waered y ffordd honno: a phan ei gwelodd, efe a aeth o'r tu arall heibio. A'r un ffunud Lefiad hefyd, wedi dyfod i'r fan, a'i weled ef, a aeth o'r tu arall heibio. Eithr rhyw Samariad, wrth ymdaith, a ddaeth atto ef: a phan ei gwelodd, a dosturiodd, ac a aeth atto, ac a rwymodd ei archollion ef, gan dywallt ynddynt olew a gwin; ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei hun, ac a'i dug ef i'r lletty, ac a'i hymgeleddodd. A thrannoeth wrth fyned ymaith, efe a dynnodd allan ddwy geiniog, ac a'u rhoddes i'r llettywr, ac a ddywedodd wrtho, Cymmer ofal drosto: a pha beth bynnag a dreuliech yn ychwaneg, pan ddelwyf drachefn, mi a'i talaf i ti. Pwy gan hynny o'r tri hyn, yr ydwyt ti yn tybied ei fod yn gymmydog i'r hwn a syrthiasai ym mhlith y lladron? Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a wnaeth drugaredd âg ef. A'r Iesu am hynny a ddywedodd wrtho, Dos, a gwna dithau yr un modd.*"—Luc x. 29—37.

Yr ydys yn dywedyd mai gan demtio y gofynnodd y cyfreithiwr hwn i'r Iesu beth a wnai efe i etifeddu bywyd tragwyddol; ond gwybydder fod i'r gair estronol "temtio,"

pan gyfieithiwyd y Beibl, ddau ystyr, sef un drwg ac un di-ddrwg. Ond nid oedd ein cyfieithwyr yn ewyllysio arferyd gair amwys pan y gallent arferyd gair di-amwys; am hynny, "profi" ac nid *temtio* oedd y gair a arferent hwy, pan y byddent yn sicr yn eu meddwl eu hunain nad oedd y gair gwreiddiol yn arwyddo dim drwg neu faleisus. Gellir casclu mai yn fwriadol yr arferasant y gair "temtio" yn yr hanes hwn; a hynny er mwyn rhoi ar ddeall nad oedd ganddynt hwy ddim meddwl rhy dda am yr holwr hwn, neu ynte er mwyn taflu'r cyfrifoldeb o esponio'r gair ar y darllenwyr. Yr oedd yn naturiol iddynt feddwl yn wael am y cyfreithiwr: canys rhaid addef ei fod yn perthyn i ddosparth pur wael; ac y mae pawb yn dueddol i farnu dŷn yn ol ei ddosparth neu yn ol ei blaid. Er hynny, nid y cyfreithwyr oedd y crefyddwyr gwaethaf ym mhlith yr Iddewon hyd yn oed fel dosparth. Pan oedd yr Iesu yn dywedyd drachefn a thrachefn, "Gwae chwi scrifenyddion a Phariseaid," dywedodd rhyw gyfreithiwr wrtho, "Athraw, wrth ddywedyd hyn, yr wyt yn ein gwaradwyddo ninnau;" a chan atteb iddo, dywedodd yr Iesu, "Gwae chwithau y cyfreithwyr," cystal a dywedyd, "Nid oeddwn i ar fedr sôn am danoch chwi; ond gan i chwi sôn am danoch eich hunain, yr ŵyf yn cyhoeddi yn groew eich bod chwithau y cyfreithwyr bron cyn waethed a'r scrifenyddion."

Y mae ymddygiad y cyfreithiwr hwn tuag at yr Iesu, ac ymddygiad yr Iesu tuag atto yntau yn dangos ei fod ef yn rhagori ar y dosparth yr oedd ef yn perthyn iddo. Holi'r Iesu a wnaeth efe er mwyn ei brofi, ac nid er mwyn ei demtio, yn ystyr diweddar y gair. Ac nid ei brofi â chwestiynau caled, fel y profodd brenhines Seba'r brenin Solomon, a wnaeth efe, eithr ei brofi âg un cwestiwn teg, a oedd yn hytrach yn bwysig nag yn galed. Yn wir, yr

oedd yr holiad yn un mor hawdd fel y medrodd y cyfreithiwr ei hun ei atteb, pan gafodd e'r cyfleusdra. Yr oedd efe yn gwybod yr atteb, ond yr oedd arno eisiau esponiad ar ei atteb. Nid medru atteb gofyniad yn gywir yw'r gamp fwyaf, eithr medru deall yr atteb ei hun. Attebodd y cyfreithiwr yn uniawn; a hynny am fod ei atteb yn gyttunol â'r Scrythyr Lân ei hun, ac yn gyttunol hefyd, efallai, â rhyw Holiadur neu Gyffes Ffydd a arferid gan yr Iddewon. Ond fe ddichon i ddynion atteb yngeiriau'r Scrythyr, yr Hyfforddwr neu'r Gyffes Ffydd, heb ddeall ystyr y geiriau hynny; am hynny pan annogodd yr Iesu'r cyfreithiwr i ddechrau gweithredu yn ol ei wybodaeth, croesholodd efe'r Iesu trwy ofyn iddo pwy ydoedd y cymmydog y gorchmynnid iddo'i garu. Yr oedd yn naturiol iddo ofyn hyn, gan mai dyma'r wedd sydd ar y gorchymmyn yn yr Hên Destafen:—"Na ddiala, ac na chadw lid i feibion dy bobl, ond câr dy gymmydog megis ti dy hun." Yr oedd yr Iddewon yn barnu wrth yr adnod hon nad oedd neb yn gymmydog iddynt ond a fyddai yn un o feibion eu pobl, sef yn un o'u cenedl eu hunain; ïe, yr oedd culni calon llawer o honynt yn eu hattal rhag cyfrif neb yn gymmydog iddynt ond a fyddai yn un o'u cyfeillion cyfnesaf. Nid oedd gan y rhain ddim cyscod adnod i gyfiawnhau eu hymddygiad; ac am hynny, er mwyn porthi eu cybydd-dod mewn cariad, lluniasant hwy adnod newydd ar eu llun a'u delw'u hunain, sef hon:—"Câr dy gymmydog, a chasâ dy elyn"—adnod hawdd ei chofio, a hawdd ei gwneuthur, rhaid addef.

Y mae arnom gryn ddiolch i'r cyfreithiwr hwn am dynnu'r Iesu allan i atteb un o'r gofyniadau pwysiccaf, a hynny trwy un o'r dammegion tlysaf yn yr holl Feibl. Yr oedd yr atteb dammegol hwn yn ddechreuad cyfnod

newydd yn hanes dŷn. Y mae'n dyledswydd tuag at Dduw a thuag at ddŷn yn amlwg bellach. Nid oes ond un Duw; am hynny câr ef â'th holl gàlon. Y mae gennyt lonaid byd o gymmydogion; am hynny câr y cwbl fel tydi dy hun. Rhan dy ewyllys da yn ddi-duedd rhwng pob un o honynt, heb gadw dim mwy i ti dy hun nag yr ŵyt yn foddlon i'w roddi i'th elyn pennaf. Fe'th geidw hyn rhag caru dy hun yn ormodol, a rhag caru neb arall yn rhy brin.

Pwy ydyw fy nghymmydog? Ni thueddid neb i ofyn hyn, pan oedd y byd yn ieuangc. Yr oedd yn amlwg i bawb yn yr oesoedd cyntaf mai o un gwaed y gwnaed hwynt oll, ac mai aelodau oeddynt o'r un teulu; canys yr oedd y dŷn cyntaf a'u tad hwy oll yn cyd-fyw â hwynt. Yr oeddynt yn cyfrif eu hunain yn gymmydogion i'w gilydd, am eu bod yn perthyn yn agos i'w gilydd. Dŷn o'r un cwmmwd yw ystyr y gair Cymraeg *cymmydog;* ac ystyr cyffelyb sydd i'r gair sy'n cyfatteb iddo, ym mhob iaith arall.

Yn awr, yr oedd y teulu dynol yn nyddiau eu tad Adda, a thros hir amser ar ol ei farw ef, yn byw yn yr un cwmmwd; ïe, megis ar yr un aelwyd; ac am hynny, yr oedd yn o hawdd iddynt hwy gadw'r teimlad cymmydogol yn fyw. Ond aethant hwy yn y man yn ormod o gymmydogion, neu yn hytrach ormod o gyfeillion; canys ni ddylai dynion da wneyd cyfeillion o bawb a fo yn gymmydogion iddynt. Gwyrdrôdd meibion Duw y teimlad cymmydogol trwy briodi merched dynion; hynny ydyw (os goddefir imi ddilyn yr hên esponwyr) ymgyfeillachodd ac ymgymmyscodd yr eglwys â'r byd llygredig. Bu hynny yn achos i breswylwyr y ddaear ymddirywio mor llwyr fel y gwelodd Duw yn dda eu golchi ymaith oll, oddi gerth

un teulu. Nid anghofiodd hiliogaeth y teulu hwn chwaith eu bod yn frodyr, ac felly yn gymmydogion i'w gilydd; ond nid oedd dim diolch yn ddyledus iddynt am gadw'r teimlad cymmydogol; canys yr oeddynt yn parhau i fyw yn yr un cwmmwd, ac i lefaru yr un iaith. Y mae hyn yr un peth a dywedyd eu bod oll yn debyg i'w gilydd; ac ni raid diolch i neb am garu ei debyg, am nad yw cariad hwnnw yn y pen draw ddim amgen na hunan-gariad. Nid caru ei gymmydog y mae hwnnw, eithr caru ei hunan yn ei gymmydog. Na thybied neb ei fod yn ddŷn-garwr, yn unig am ei fod yn gallu caru ei lun ei hun wrth edrych mewn drych. Y dŷn sy'n medru caru yr un annhebyccaf iddo'i hun, hwnnw sy'n caru ei gymmydog. Caru'r eiddo yn unig y mae'r byd. Ni all dŷn annuwiol garu dŷn duwiol, am ei fod yn rhy annhebyg iddo; ond fe all dŷn duwiol garu dŷn annuwiol â chariad o ewyllys da, er ei fod yn annhebyg iddo.

Yn awr, dechreuodd Duw yn fore ddyscu dynion i garu rhai annhebyg iddynt eu hunain; a dyma'r ddwy ffordd a gymmerodd efe i'w gwneyd yn annhebyg; sef trwy gymmyscu eu hiaith, a thrwy eu gwascaru ar hyd y ddaear; hynny ydyw, trwy eu gwahanu o ran tafodiaith ac o ran lle. Heb law fod plant Adda yn myned yn rhy debyg i'w gilydd, yr oeddynt hefyd yn myned yn anwesog ac yn hunanol dros ben, wrth barhau i stelcian ar hên aelwyd eu tad; am hynny penderfynodd Duw chwalu eu cartref, a gyrru'r teulu ymaith yn finteioedd i bob cyfeiriad, a rhoi iaith newydd i bob mintai tuag at ddechrau byw. Gwyddai Duw yn well na neb arall nad oedd dim o fath amrywiaeth mewn iaith er peri amrywiaeth dymunol yn null dynion o feddwl ac o fyw. Y mae iaith mewn amser yn gwneyd ei hôl ar gyfansoddiad meddwl dŷn, a hyd yn oed ar gyfansoddiad ei gorff; ac y mae anianegwyr yn

medru profi fod olion iaith gynhenid yn parhau ar gorff a meddwl dynion hyd y bedwaredd genedlaeth. Felly, nid rhywbeth y gellir ei fwrw heibio pan y mynner, a'i newid fel dilledyn, ydyw iaith. Y mae iaith mam a nain dŷn yn rhan bwysig o hono ef ei hun, ac fe gollai fwy wrth golli'r iaith honno nag wrth golli ei ddwy fraich a'i ddwy goes. Y mae Duw yn cospi'r bobl sy'n esceuluso iaith eu gwlad; ac o herwydd hynny y mae Cymry Sir Faesyfed a Sir Frycheiniog a'r gororau gymmaint îs mewn dealltwriaeth, mewn moesau ac mewn crefydd na Chymry y rhannau mwyaf Cymreig o'r Dywysogaeth. Nid ŵyf yn meddwl fy mod, wrth ddywedyd y pethau hyn, yn pregethu'r efengyl, yn ystyr cyfyngaf y gair; ond yr ŵyf yn meddwl y gallwn brofi, pe bâi raid, fy mod yn pregethu'r gair. Y mae gorchymmyn, sef gair Duw, yn dra ëang; ac y mae'r gair ëang hwnnw yn cynnwys y ffaith hon, sef mai'r un Duw ag a roes ei Fab i gadw'r byd a roes iaith gyfaddas i bob cenedl i sôn am y Mab hwnnw, ac i deimlo wrth glywed sôn am dano. Yr ydys yn cymmeradwyo cenedl-garwch a iaith-garwch mewn egwyddor, yn yr ymadrodd hwn:—"Y neb sy ffyddlon yn y lleiaf sy ffyddlon hefyd mewn llawer." Bydd y neb sy ffyddlon i'w iaith briod, yn ol pob tebyg yn ffyddlon i Dduw hefyd, os ymwnêl e â Duw. O'r tu arall, os yw ffasiwn yn temtio rhywrai i wadu eu hiaith, y mae lle i ofni y byddai yn hawdd gan y rheini wadu Crist hefyd, pe bâi gwadu Crist yn myned yn ffasiwn. Gallodd yr Iesu ymddygymmod yn burion a'r Zelotiaid, er mai math o Ffeniaid Iddewig oeddynt, am eu bod yn wladgarwyr; a chafodd un barhau yn ddiscybl iddo, heb dorri ei gyssylltiad â'i blaid; ond ni allai efe oddef yr Herodianiaid, nac ymddiried am swydd apostol i neb o honynt hwy; a hynny am eu bod hwy yn ceisio troi yr Iddewon yn Rhufeiniaid, fel y mae rhyw ddosparth yn ein plith ninnau yn ceisio troi'r

Cymry yn Saeson. Nid annog yr Iddewon i ddilèu eu nodau gwahaniaethol fel cenedl y byddai'r Iesu, eithr eu dyscu i fod yn haelach eu bryd a'u càlon, fel ag i gyfrif cenedloedd eraill yn gynnifer o gymmydogion iddynt, ac i ymddwyn tuag attynt fel cymmydogion.

Y mae Duw yn hoffi undeb; am hynny gwnaeth efe o un gwaed bob cenedl ar wyneb y ddaear; ond y mae yn hoffi neillduolrwydd ac amrywiaeth hefyd; am hynny neillduodd efe feibion Adda, a phennodd derfynau eu preswylfod, a chymmyscodd eu hiaith. Y mae Duw yn un; am hynny dywedodd, "Gwnawn ddŷn"—nid rhyw nifer o ddynion annibynol, eithr un dŷn, fel y bo'i eppil yn un, megis yr ŵyf fi yn un. Ond wrth greu dŷn, yr oedd yr un Duw hwn yn ymgyssylltu â rhyw fodau goruchel eraill; am hynny y dywedodd yr Elohim, "Gwnawn ddŷn ar ein delw ni"—nid ar ddelw un o honom, eithr ar ein delw ni; fel y perthyno i'r ddynoliaeth y neillduolrwydd a'r amrywiaeth sy'n perthyn i ni.

Er mwyn cadw a chwanegu'r amrywiaeth hwn y rhannodd Duw un genedl yn genedloedd lawer, ac un iaith yn ieithoedd lawer. Y mae annibyniaeth a rhyddid cenedlig mor gyssegredig yn ei olwg ef, ac mor gyttunol â'i amcan ef ag yw rhyddid teuluol, a rhyddid teuluol mor gyssegredig ag yw rhyddid personol. Pan deimler dylanwad crefydd Crist yn ddyfnach, ymddengys caethiwo cenedl y pryd hwnnw yn beth mor afresymol ag yw caethiwo person y pryd hwn. Ordeiniwyd i ddŷn garu ei deulu a charu ei genedl, er mwyn iddo ddyscu caru dŷn fel dŷn. Y mae yn anawdd meddwl y gall neb fod yn ddŷn-garwr heb fod yn genedl-garwr hefyd; nac y gall neb fod yn genedl-garwr cywir, oni bydd e yn darbod dros ei deulu. Er hynny, rhaid addef y gall dŷn ymfoddloni

ar garu ei deulu heb garu ei genedl, ac ymfoddloni ar garu ei genedl heb garu'r ddynoliaeth.

Y mae yn ddiammau gennyf fy mod yn gwneuthur gwasanaeth i grefydd wrth annog pawb i beidio â dilèu dim un o'r terfynau a bennodd Duw i fod yn fagwrfa i gariad cymmydogol. Na frysied neb i ddinistrio'r cylch cenedlig; canys ni raid iddo ond edrych i'r Dwyrain er cael prawf amlwg fod dinistrio'r cylch hwn yn arwain dynion i ddinistrio'r cylch teuluol hefyd. Na wneled neb ddim i ddinistrio *iaith* cenedl; canys yr ydys wrth ddinistrio iaith yn dinistrio cymmeriad neu neillduolrwydd cenedl; ac y mae dinistrio cymmeriad y nesaf peth i ddinistrio bywyd. Ac fel y mae cenedl gyfan yn bwysiccach nag un person, felly y mae dinistrio cymmeriad cenedl yn beth gwaeth na dinistrio cymmeriad person.

Ni ellir gwneyd dynion a chenedloedd yn debyg i'w gilydd, mewn iaith, cymmeriad ac arferion, heb eu gwaethygu. Pechod—pechod yn rhith gwareiddiad, sy'n dwyn unffurfiaeth i'r byd; y mae gras yn peri amrywiaeth.

Ond gynnifer sydd yn y byd yn camarfer y teimlad teuluol a'r teimlad cenedlig i gyfyngu eu cariad yn lle'i ledaenu. Y mae cariad ambell benteulu yn gynnwysedig yn unig mewn cyfoethogi ei deulu ei hun; ac y mae ambell genedlgarwr yn dangos ei gariad yntau trwy annog ei gydwladwyr i gasàu cenedloedd eraill. Dylai pob dŷn chwanegu at ei gariad neillduol ar ei deulu ac ar ei genedl, gariad cyffredinol ar ddŷn fel dŷn. Heb y cariad cyffredinol hwn nid yw pob cariad neillduol ddim amgen na nwyd, chwaeth neu arferiad. Od oes rhywun yn caru ei frawd, yn unig am ei fod yn frawd iddo, ac nid am ei fod yn ddŷn; od oes neb yn caru ei gyd-wladwyr, yn

unig am eu bod yn gyd-wladwyr, ac nid am eu bod yn gyd-ddynion, nid yw hwnnw yn caru ei gymmydog. Oni bydd ein cariad, yr un ffunud a'n cyfiawnder, yn helaethach na chariad y scrifenyddion a'r Pharisëaid, nid awn i mewn i deyrnas Dduw; ac er hynny, y mae achos i ofni fod cariad llawer o Gristionogion yn llai na chariad y cyfreithwyr, y scrifenyddion a'r Pharisëaid. Yr oedd yr Iddewon, er culed oeddynt, yn teimlo'u bod yn rhwymedig i garu pob Iddew, am ei fod yn Iddew, pa un bynnag ai perthynas neu amgen, ai tlawd neu gyfoethog, ai caeth neu rydd, ai pell neu agos. Yr oedd eu cariad yn llifo dros bob terfyn amgylchiadol a oedd yn eu gwahanu hwy oddi wrth eu gilydd; ond ni oddefid iddo lifo dros y terfynau a oedd yn eu gwahanu hwynt fel cenedl oddi wrth genedloedd eraill. Yr oeddynt yn casàu hyd yn oed y genedl agosaf attynt, o ran gwaed a chrefydd a lle. "Nid oedd yr Iddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid." Dywedodd yr Iesu, yn wir, mai o'r Iddewon yr oedd iachawdwriaeth; ond ni fwriadwyd iddi aros gyd â hwynt-hwy; pe amgen, pa fodd y bendithid holl genedloedd y ddaear yn Abram a'i had?

Lluniodd Crist y ddammeg hon yn gyfryw ag yr oedd yn rhaid i'r Iddew, ym mherson y cyfreithiwr hwn, gydnabod fod y Samariad yn gymmydog iddo, neu ynte gyfaddef ei fod yn euog o'r anniolchgarwch adgasaf. Er mwyn rhoi gorfod arno i gydnabod hynny y dewisodd yr Iesu wneyd y Samariad yn gymmwynaswr i'r Iddew yn hytrach na gwneyd yr Iddew yn gymmwynaswr i'r Samariad. Eisiau cael addefiad gan Iddew oedd ar yr Iesu y gallai *rhyw* Samariad fod yn gymmydog iddo. Ond yr oedd yr Iddew, wrth addef y gallai Samariad neillduol fod yn gymmydog iddo, yn addef y gallai pob Samariad; ïe, pob dŷn fod yn gymmydog iddo, os ym-

ddygai hwnnw mor gymmwynasgar ag yr ymddygodd y Samariad hwn. A mwy na hynny, yr oedd ei addefiad yn cynnwys fod pob gelyn o Samariad, a phob math o ddynion ar wyneb y ddaear yn gymmydogion iddo; o herwydd nid cymmwynasgarwch oedd yn gwneyd dŷn yn gymmydog, yn ol safon y rhan fwyaf o'r Iddewon eu hunain, eithr perthynas genedlig; ac os unwaith y llammai Iddew dros gylch y berthynas hon, fe syniai fod arno gymmaint o rwymedigaeth i garu gelyn o Samariad ag i garu gelyn o Iddew. Ac heb law hynny, onid yw'r ail orchymmyn mawr yn ddiammodol, ac yn cynnwys llawer mwy na "Châr dy *gymmwynaswr* fel ti dy hun?"

Y Samariad yn unig a wnaeth dro cymmwynaswr â'r Iddew a syrthiasai ym mysc lladron; ond ni pheidiodd yr offeiriad a'r Lefiad hefyd â bod yn gymmydogion iddo, er iddynt fyned o'r tu arall heibio. Nid oedd arno ddim dyled i fod yn ddiolchgar iddynt hwy, nac i'w hedmygu; ond yr ydoedd arno ddyled i'w caru, a hynny nid yn gymmaint am eu bod yn gyd-wladwyr iddo ag am eu bod yn gyd-ddynion, ac felly yn ddau gymmydog iddo. Os gwnaeth rhyw ddynion dro gwael â thi, trwy esceuluso ymweled â thi pan oeddet yn glaf, neu trwy esceuluso dy gynnorthwyo i gael tippyn o ymmenyn ar fara dy blant, a gwadnau clyd i'w hescidiau pan oeddet yn methu â gweithio gan y rhew a'r eira, nid yw hynny yn rhoi i ti nac achos nac escus i beidio â'u caru fel ti dy hun. Ni wnaethant hwy, y mae yn wir, mo'u dyledswydd tuag attat ti; er hynny, gwna di dy ddyledswydd tuag attynt hwy. Rhaid iti ei gwneyd, os mynni fod yn Gristion; canys hyn yw'r gyfraith a'r proffwydi; ïe, hyn yw Crist ei hun, yn ei efengyl ac yn ei esampl. Ped edrychem yn ddyfal-ach ar Iesu yn marw dros yr annuwiol, nid yn unig fe'i carem ef yn fwy, ond fe'n galluogid hefyd i garu pawb a

garodd yntau, ac i'w caru am yr un rheswm ag y darfu iddo yntau eu caru; sef heb un rheswm ond y rheswm oedd yn ymferwi yn y cariad ei hun. Gwneist ti dro gwaelach â'r Iesu nag a wnaeth neb erióed â thydi; ac er hynny, fe'th garodd. "Dos, a gwna dithau yr un modd."

Os yw yn rhy anawdd gennyt wneyd yr hyn a wnaeth Mab Duw, dos, a gwna yr un modd a'r Samariad. Amgeleddodd efe un o'r "genedl anhawddgar" a oedd yn diystyru pob Samariad, gan ei alw yn estron, ac yn ei ddifenwi trwy ddywedyd fod cythraul ganddo. Peryglodd efe ei fywyd i'w amgeleddu; canys enbyd, meddir, oedd i deithiwr ddiscyn oddi ar ei anifail, ac ymdroi dim ar y ffordd rhwng y ddinas santaidd a dinas y palmwydd. Nid lladron yn unig oedd yn cynniwair y ffordd honno, ond llofruddion hefyd. "Ffordd y gwaed" y gelwid hi.

Y mae rhai yn tybied mai ofn, yn fwy na difatterwch, a barodd i'r offeiriad a'r Lefiad frysio heibio i'r dŷn archolledig; ond nid oedd cymmaint o achos iddynt hwy ofni ag oedd i leygwr goludog o fath y Samariad; o blegid y mae yn debygol fod yspeilwyr y wlad honno, yr un modd ag yspeilwyr y Spaen a'r Ital, yn parchu peth ar frethyn du, sef ar ddillad clerigol; a hynny, mewn rhan, am nad oedd cymmaint i'w gael ym mhoccedau dillad offeiriad ag ym mhoccedau dillad masnachwr. Ond wele'r Samariad, o dosturi tuag at ddŷn truenus, yn wynebu perygl mawr, ar ol i'r rhai oedd wrth eu swydd yn weinidogion trugaredd arswydo perygl bach. Yr oedd cariad y Samariad yn ei wneyd yn bwyllog, yn ofalus ac yn fedrus iawn. Er gwaethaf y lladron a oedd o amgylch y lle, cymmerodd efe amser i olchi briwiau yr Iddew â gwin, ac i'w hesmwythau âg olew, ac i'w gorchuddio â rhwymynnau, cyn ceisio'i symmud ef ymaith. Wedi gwneyd cymmaint

a hyn iddo, fe'i cludodd ar ei anifail troed-sicr ei hun, allan o'r nant i'r lletty draw, ac arosodd yno gyd âg ef dros ddiwrnod i'w amgeleddu yn helaethach. Ar ol gweled fod yr Iddew allan o berygl, ymbarottôdd y Samariad i fyned rhagddo ar ei daith; ond cyn myned, talu yn anrhydeddus i ŵr y tŷ dros yr archolledig, ac erfyn arno ofalu yn iawn am dano, gan nad pa faint chwaneg fyddai'r draul. Nid oedd arno ef fwy o ddyled i dalu dros yr Iddew clwyfedig nag oedd ar berchen y tŷ i roi lletty iddo; ond yr oedd y Samariad yn ormod o ŵr bonheddig i ofyn i hwnnw gymmeryd llai o dâl nag arferol, er mwyn gallu o hono ef wneyd cymmwynas i druan dieithr yn weddol rad. "Nac arbed unrhyw draul yn y dyfodol," eb efe; "af fi yn gyfrifol am y cwbl."

Ni wn i a oedd yr Iesu yn bwriadu darlunio'i hun yn yr hanes hwn. Boed a fyddo, gellir yn briodol ddywedyd am dano ef bob peth yr ydys yn ei ddywedyd am y Samariad hwn. Iesu Grist ei hun yw'r gwir Samariad. Tydi, myfi, yw'r dŷn hanner marw a oedd yn gorwedd yn ei waed ar ymyl y ffordd. Y diafol yw'r lleiddiad a'i harchollodd mor anaele. Ei angylion ef yw'r lladron a ddioscodd oddi am dano wiscoedd ei ogoniant. Edrychodd llawer llygad arno heb dosturio dim wrtho. Aeth hyd yn oed y Lefiaid a'r offeiriaid heibio iddo, heb gymmeryd arnynt ei weled; ni feiddient hwy, a oedd yn feddygon ysprydol wrth eu swydd, droi atto i'w gynnorthwyo; canys yr oedd yn beryglus i neb sefyll ar y ffordd honno—"ffordd y gwaed" oedd hi. Diwedd gwaedlyd a fu diwedd pob un a fynnodd sefyll. Lladdwyd y proffwydi, a llabyddiwyd pob un a ddanfonwyd atto. Yr oedd gorfod i'r sawl a oedd yn ewyllysio'i gynnorthwyo farw cyn gallu ei gynnorthwyo. Yr oedd y dŷn clwyfedig yn y cyfamser yn parhau i golli ei waed trwy fil o archoll-

ion, nes ei fyned o'r diwedd yn fwy na hanner marw. Ond pan oedd efe ar fin marw, daeth yr Iesu—nid wrth ymdaith, nid ar ddamwain ddim, eithr yn unswydd i weini ar y truan.

Nid rhyfedd fod ganddo gyd âg ef olew a gwin: canys gwyddai efe beth a ddigwyddasai i'r teithiwr ar "ffordd y gwaed." Pan y daeth atto a'i weled, fe dosturiodd wrtho, er ei fod wedi dechrau tosturio cyn cychwyn. Y mae yn golchi ei friwiau â'r dŵr ac â'r gwaed a lifodd allan o'i fynwes ei hun; yn ei godi—nid ar ei anifail nac i'w gerbyd; canys nid oes ganddo bethau felly, eithr ar ei ysgwyddau ei hun; neu yn hytrach, yn ei gymmeryd yn ei fynwes, ac yn ei gludo dros fryniau a dyffrynoedd hyd i letty'r pererinion. Y mae yn talu'r holl hên ddyled drosto, ac yn myned yn attebol am bob gofyn newydd arno, o hyn hyd ddydd y cyfrif. Ac y mae ganddo ddigon o fodd i allu cadw'i air; canys y mae ganddo gyfoeth mawr o haeddiant yn ei berson. Er gorfod i'r Iesu ei hun fyned ymaith wedi iddo wneuthur y gwaith mawr, ni adawodd e mo'r clwyfedig heb amgeleddwr. Y mae efe etto mewn dwylaw da; canys y mae'r Yspryd wedi ei osod i ofalu drosto, hyd oni ddelo'r Iesu drachefn, sef hyd y dydd y bo'r claf wedi ei gwbl iachau, gorff ac enaid.

Ond fe ellir dywedyd am yr Iesu rai pethau na allesid mo'u dywedyd am unrhyw Samariad; ac am hynny, cyn y bydd y darlun hwn o'r Samariad yn ddarlun cyflawn o'r Iesu, rhaid chwanegu rhywbeth atto. Er mwyn gweled cariad rhagorach y Samariad nefol, rhaid ini gofio ei fod ef yn frenin, ac yn fab i frenin; ddarfod iddo ef, pan gyrhaeddodd gwaed y clwyfedig hyd atto, adnabod llais gelyn personol; ei fod yn rhagweled ei farwolaeth ei

hun—nid fel peth posibl, neu beth tebygol, eithr fel peth sicr; ac yn ben ar y cwbl, ei fod yn rhagwybod y rhoddid ef i farwolaeth trwy law yr unrhyw ddŷn ag yr oedd efe ar fedr discyn o'r nef i achub ei fywyd.

Bellach, y mae Mab Duw yn gorchymmyn i bob dŷn garu ei gymmydog, nid trwy enau ei santaidd broffwydi yn unig, eithr trwy ei esampl ei hun. A phwy ydyw fy nghymmydog? Yr un un a chymmydog yr Iesu. A phwy ydyw ei gymmydog ef? Y mae hynny yr un peth a gofyn pwy a garodd e. Dros bwy y gweddïodd, yr wylodd ac y chwysodd e? Dros bwy y bu e farw? Dros elyn; neu yn hytrach, dros ddynoliaeth elynol. Y ddynoliaeth hon yw dy gymmydog di. Nid yw ddigon iti garu dynion: rhaid iti garu dŷn, am ei fod yn ddŷn. Ni ddisgwylir iti ymserchu nac ymddori nac ymddiried ym mhawb fel eu gilydd, nac ymddwyn ym mhob peth tuag at bawb fel eu gilydd; ond yr ŵyt yn rhwymedig i garu pawb â'r cyfryw gariad ag y carodd Grist hwynt. Ac fe ddylai fod yn haws i ti garu'r ddynoliaeth nag oedd i Fab Duw ei charu; canys yr ŵyt ti dy hun yn rhan o honi; ac am hynny ni all hi fod yn elyn mor wirioneddol i ti ag ydoedd hi iddo ef. Ac y mae yn haws fyth iti ei charu ar ol iddo ef ei charu o'th flaen, a marw drosti; am fod cariad Crist wedi ei chyssegru mewn rhyw fodd, a'i gwneyd hi felly yn fwy teilwng o'th gariad di.

Pa beth a wnaf, ebe rhywun, i gael bywyd tragwyddol? Câr Dduw, a châr ddŷn. Os gwnei hynny, byw fyddi. Y mae yn wir na elli garu Duw na dŷn, heb gredu yn yr hwn sy'n Dduw ac yn ddŷn; ond gan fod holl ddyledswyddau a holl wirioneddau'r efengyl yn gymmlethedig, y mae dywedyd "Câr" yn dyfod yr un peth a dywedyd "Cred."

Pa fodd, ebe rhywun arall, y gwybyddaf a gefais i fywyd tragwyddol? Y mae'r maen prawf ger dy law. Os yw dy gydwybod yn tystio wrthyt dy fod yn caru pob dŷn tebyg i Adda'r Ail â chariad o ymhyfrydiad, ac yn caru pob dŷn tebyg i'r Adda cyntaf â chariad o ewyllys da, yna fe'th symmudwyd di o farwolaeth i fywyd.

## XI.

# GWIR DRYSORI, TRYSORI I DDUW.

"*Ac efe a ddywedodd wrthynt, Edrychwch, ac ymogelwch rhag cybydd-dod: canys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo. Ac efe a draethodd iddynt ddammeg, gan ddywedyd, Tir rhyw wr goludog a gnydiodd yn dda. Ac efe a ymresymmodd ynddo ei hun, gan ddywedyd, Beth a wnaf, am nad oes gennyf le i gasclu fy ffrwythau iddo? Ac efe a ddywedodd, Hyn a wnaf: Mi a dynnaf i lawr fy ysguboriau, ac a adeiladaf rai mwy; ac yno y casclaf fy holl ffrwythau, a'm dâ. A dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae gennyt ddâ lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd: gorphwys, bwytta, yf, bydd lawen. Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddi wrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barottoaist? Felly y mae yr hwn sydd yn trysori iddo ei hun, ac nid yw gyfoethog tuag at Dduw.*"—LUC xii. 15—21.

ER cystal pregethwr oedd Iesu Grist, nid allai efe bob amser gadw pob un o'i wrandawyr rhag meddwl am ei fân fatterion ei hun; ac am hynny pan oedd efe unwaith yn pregethu yn ddifrifol am bechod a barn ac uffern, am Fab y dŷn a'r Yspryd Glân, fe lefodd rhywun o'r dyrfa, gan ddywedyd, "Athro, dywed wrth fy mrawd am rannu â myfi yr etifeddiaeth." Yr oedd yn flin gan yr Iesu glywed dŷn yn aflonyddu arno trwy ofyn peth mor ammherthynasol i byngciau ei bregeth; am hynny fe attebodd yn lled

lym, "Y dŷn, pwy a'm gosododd i yn farnwr neu yn rhannwr arnoch chwi?" Cystal a dyweyd, Nid i wastattàu ymrafaelion teuluol y daethum i i'r byd; ac nid yw yn gweddu i mi ymgystadlu â deddfwyr a barnwyr gosodedig y wlad, trwy roddi cynghorion cyfreithiol i bawb a'r a ddelo attaf. Nid ymyrryd â helyntion pobl yw fy ngwaith i, eithr cyfarwyddo eu hysbryd ym mhob rhyw helynt. Felly, gan droi at y dyrfa oll, y mae'r Iesu yn dywedyd wrthynt:—"Edrychwch, ac ymogelwch rhag cybydd-dod." Y mae y cyngor cyffredinol hwn yn cynnwys cyngor neillduol i'r dŷn a aflonyddodd; a hyn, mi gredaf, ydyw ystyr y cyngor hwnnw:—Os o wir gariad ar gyfiawnder yr wyt yn ewyllysio i'th frawd rannu â thydi yr etifeddiaeth, yna dos i'r llysoedd lle yr ydys yn gwneuthur cyfiawnder; ond os o gybydd-dod yr wyt yn ewyllysio hynny, yna aberthа dy ran dy hun o'r etifeddiaeth, a gâd i'th frawd gael y cwbl. Y mae yn well iti golli dy eiddo na cholli dy gymmeriad, a bod heb fara i'w fwytta na phorthi yspryd cybyddlyd; canys "nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sy ganddo." Y mae bywyd uchel a dedwydd yn sefyll ar yr hyn *ydyw* dŷn ac nid ar hyn sy *gan* ddŷn—ar ei gymmeriad ac nid ar ei gyfoeth.

Er fod yr Iesu yn addfwyn y tu hwnt i bawb; yn cydddioddef â gwendid dynion, ac yn tosturio wrth y rhai sy mewn anwybodaeth ac amryfusedd, etto yr ydych wedi sylwi, wrth ddarllen yr efengylau, ei fod yn ymddangos yn llym odiaeth wrth gondemnio pob rhyw bechod sydd yn crebachu dŷn, megis cybydd-dod, ariangarwch, hunangarwch, anfaddeugarwch, anghyfiawnder, dichell, cenfigen a rhagrith; a hynny am fod y pechodau sydd yn crebachu yr enaid yn fwy adgas ac anescusadwy na'r pechodau sydd yn anafu'r enaid. Y maent, heb law hynny, yn meddiannu

yspryd dŷn yn llwyrach na'r pechodau y temtir dŷn iddynt yn ddisymmwth; am hynny fe allodd Duw angofio pechod Dafydd gyd â Bathseba yn gynt o lawer na'i ddichell ysceler yn erbyn ei gŵr hi. Y mae efe yn edliw iddo ei ddichell hyd yn oed wedi i'w escyrn bydru yn y bedd. Y mae i gybydd-dod yr un dylanwad ar yspryd dŷn ag sy gan ddichell; ac am hynny y dywed yr Iesu yn ddifrifol, "Edrychwch, ac ymogelwch rhag cybydd-dod;" canys y mae cybydd-dod yn eich analluogi i fwynhau bywyd, yn culhau'ch enaid; ac yn raddol yn peri'ch bod yn *colli* eich enaid bron yn llwyr. "A pha lesad i ddŷn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Pa beth a dâl byd i ddŷn nad oes ganddo ddigon o enaid i weled ei brydferthwch? Dïau yr edrych dynion o fath hwn yma ar yr ŷd a'r maip a'r cloron, am fod y rhain yn bethau buddiol iddynt; ond ofer a fyddai i chwi ddywedyd wrthynt, "Edrychwch ar y lili; ystyriwch y brain; sylwch ar edyn y gloyn byw, ac ar odreon y cwmmwl sydd yn ymdaenu dros wyneb haul yr hwyr; gwrandewch ar yr aderyn pengoch yn canu yn llon, ac ar yr aderyn penfelyn yn canu yn brudd; ar y gwynt yn ymguro yn erbyn y dail, ac ar ddyfroedd yr afon yn ymguro yn erbyn y cerrig." Y mae barddoniaeth y greadigaeth yn guddiedig oddi wrth eu llygaid, ac yn gauedig oddi wrth eu clustiau hwy. Iddynt hwy, maelfa yw natur, ac nid arlunfa; cegin ac nid cerddorfa. Y maent wedi colli eu chwaeth am eu bod wedi colli eu henaid; ac wedi colli eu henaid am eu bod wedi ymroi i ennill y byd yn hytrach yn ei bethau bach a buddiol nag yn ei bethau mawreddog a phrydferth.

Os na fynnwch golli'ch enaid—os mynnwch *fyw* yngwir ystyr y gair, "ymogelwch," medd yr Iesu, "rhag cybydd-dod." Y mae Quevedo, y breuddwydiwr Yspaenig

y benthyciodd Miltwn a'r Bardd Cwsc gynnifer o'i syniadau, yn darlunio Satan yn gythraul mawr, urddasol, ac yn darlunio Mammon yn gythraul bach, dirmygedig, yr hwn y mae yn ffiaidd gan bob cythraul gweddol barchus ymostwng i siarad âg ef. A wyddoch chwi beth? Y mae ambell un, trwy gybydd-dod, yn gwneyd ei gàlon yn rhy gyfyng nid yn unig i fod yn deml i'r Yspryd Glân, ond hefyd i fod yn deml i yspryd aflan o radd uchel. Y mae hi yn rhy fach i gynnwys Satan; rhyw swbach o gythraul—rhyw gorach fel Mammon, a ddichon ymwthio i mewn iddi. Yr oedd defnydd sant ym Mair Magdalen, hyd yn oed pan oedd hi yn bechadures; canys yr oedd ynddi gynnifer a saith o gythreuliaid, yr hyn sydd yn profi fod ganddi gàlon fawr, os nad oedd ganddi gàlon lân; ac y mae yn haws i'r Hollalluog ei hun wneyd càlon aflan yn lân na gwneyd càlon fach yn gàlon fawr. Fel rheol, y mae gras rhagorol yn gorphwys ar natur ragorol. Ymogelwn, gan hynny, rhag dyfetha ein natur trwy gybydd-dod.

Ond pa beth ydyw cybydd-dod? Y mae yn cynnwys y tri pheth hyn o leiaf:—Ym mlaenaf, *chwennychu* tyrru golud neu amlhau meddiannau daearol y tu hwnt i'n cyfreidiau'n hunain, a chyfreidiau y rhai sy'n dibynnu arnom. Yn ail, *pryderu* hyd yn oed am gyfreidiau. Yn drydydd, *ymhyfrydu* mewn amledd da bydol. Mi wn mai y dŷn sy'n caru arian a meddiannau er ei fwyn ei hunan a gyfrifir yn gyffredin yn gybydd; ond y mae'r Iesu yma yn rhoi i'r gair cybydd-dod ei ystyr helaethaf; ac am hynny y dywed efe (a chyfieithu yr ymadrodd yn gywir) "Ymogelwch rhag pob math o gybydd-dod." Fe all dŷn fod yn gybydd heb chwennychu tir ac arian er eu mwyn eu hunain. Fe all fod yn gybydd wrth chwennychu'r pethau hyn, hyd yn oed fel moddion i gyrraedd diben

amgenach, os na bydd y diben hwnnw y diben uchaf oll. Y mae rhai yn chwennychu golud yn unig er mwyn byw yn foethus—cnawdolrwydd yw cybydd-dod y rheini o ran ei ffurf. Y mae eraill yn chwennychu golud er mwyn ymddyrchafu mewn cymdeithas—uchelgais yw ffurf eu cybydd-dod hwy. Y mae eraill yn chwennychu golud yn unig am fod arnynt ofn myned yn dlawd; ac am hynny, y mae cybydd-dod y rheini yn ymddangos i eraill yn bryder pechadurus. Nid yw'r pethau hyn, a llawer o bethau eraill yn eu bôn, yn ddim amgen na ffurfiau ar gybydd-dod: am hynny y dywed yr Iesu, "Ymogelwch rhag pob math o gybydd-dod."

Y mae'r cwbl a ddywedais hyd yma yn dangos fod cybydd-dod, mewn rhyw wedd neu gilydd, yn bechod parod i amgylchu pawb. Os temtir y cyfoethog i *gadw* ei arian, fe demtir y tlawd yr un ffunud i *chwennychu* arian; ac er nad yw meddu arian ddim ynddo'i hun yn fai, y mae ariangarwch—y mae caru arian yn fai mawr; ac er nad yw y Beibl, yn fy marn i, ddim yn condemnio y rhai sy'n ymgyfoethogi yn deg a naturiol, y mae yn condemnio yn llym iawn y rhai sy'n *ewyllysio* ymgyfoethogi. Yn ol yr adnod flaenaf a'r olaf yn y testyn, y mae pob un ag y mae'r chwant i feddiannu yn ddigon cryf ynddo i'w gymmell i drysori iddo'i hun, yn gybydd, ac felly yn euog o fydolrwydd yn ei ffurf ynfyttaf a pheryclaf. Yn awr, er mwyn dangos yn effeithiol fod cybydd-dod yn ynfydrwydd y llefarodd yr Iesu ddammeg y goludog ynfyd. Felly, fe fyddys yn esponio llawn ddigon ar y ddammeg wrth daro bŷs ar y pethau ag y mae ynfydrwydd y goludog yn ymddangos ynddynt.

Y mae efe yn ymddangos yn y lle blaenaf, yn ei waith yn honni meddiant mewn da nad oedd yn eiddo priodol

iddo. Yn yr ail le, yn ei waith yn hyderu ar amser nad oedd ganddo ddim gafael sicr ynddo. Ac yn y trydydd lle, yn ei waith yn cynnyg boddloni ei ran ysprydol â phethau anianol.

Y mae ei ynfydrwydd, meddaf, yn ymddangos *ym mlaenaf oll, yn ei waith yn honni meddiant mewn da nad oedd yn eiddo priodol iddo;* canys y mae efe mor chwannog i glebar am "*fy* ffrwythau *a'm* da" ag ydyw y Prydeiniaid i glebar am "*ein* meddiannau," a "chylch *ein* dylanwad" mewn gwledydd a berthyn i bobl eraill. Y mae yn wir mai efe a driniodd y tir, a blannodd y coed ac a hauodd yr hâd; ond nid efe a'u gwnaeth. Nid efe chwaith a barodd i'r gwinwydd a'r gwenith dyfu a ffrwytho, eithr Duw trwy ddanfon golau a gwres o'r haul, a thrwy ddyhidlo gwlaw o'r cymmylau. Yr oedd ganddo cyn lleied o ran yn y gwaith o gynnyrchu'r cnwd oedd ar ei fferm, fel mai prin y gellir ei gyfrif yn gyd-*weithiwr* â Duw. Cydymmaith cwsc *(sleeping partner)* oedd efe ar y gorau; canys tra bo dŷn yn cyscu, medd yr Iesu, y mae'r had yn egino ac yn tyfu y modd nis gŵyr efe. Yr oedd gan y goludog fwy o reswm am ddywedyd "fy scuboriau" nag am ddywedyd "fy holl ffrwythau a'm da," ac etto rheswm bychan iawn oedd ganddo am ddywedyd hynny hefyd; canys o greigiau Duw y cafodd efe'r meini i wneuthur y muriau, ac o'r ffynidwydd a blannodd Duw y cafodd efe dylathau i wneuthur y tô. Ië, â'r nerth a roes Duw iddo y dododd efe faen ar faen, ac y cyssylltodd efe bren wrth bren. Y mae rhai yn addef mai Duw a wnaeth y tir, ond yn haeru mai dŷn a wnaeth y dref. A dyweyd y gwir yn gyfan, Duw yn bennaf a wnaeth y dref hefyd. "Os yr Arglwydd nid adeilada'r tŷ, ofer y llafuria ei adeiladwyr wrtho; os yr Arglwydd ni cheidw'r ddinas, ofer y gwylia'r ceidwad. Ofer i *chwi* fore godi, myned yn hwyr i gyscu,

a bwytta bara gofidiau; felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd." Hynny ydyw, y mae Duw yn gwneyd y gwaith mawr yn y ddinas fel yn y wlad tra y bydd ei blant yn huno. Gyd ag y bydd un o'r rhain wedi codi oddi ar ei liniau yn yr hwyr, fe fydd Duw yn dywedyd wrtho, "Dos i'th wely, fy anwylyd, a chwsc yn dawel hyd y bore; fe ofalaf fi am bob peth. Mi a gadwaf dy scyfaint a'th gàlon ar waith tra y bydd dy aelodau a'th ymennydd yn gorphwys. Mi a gadwaf yr awyr yn gydbwys rhag iddo wascu dy dŷ i'r ddaear, na'i dynnu yn deilchion tua'r wybren. Mi ofalaf ar fod nodd yn cerdded trwy bob bonyn yn dy berllan, a thrwy bob blewyn glas yn dy faesydd. Mi ofalaf na chollo'r lloer ei ffordd, ac na tharawo seren yn erbyn seren wrth chwyrnellu trwy eu gilydd yn y gwagle. Cwsc, fy mhlentyn, ni thry olwynion y greadigaeth ddim gwell er i ti fod yn effro."

O dybied mai efe oedd yn *gwneyd* y cwbl, ac a allai *wneyd* y cwbl, yr aeth y goludog ynfyd i dybied mai efe bia'r cwbl a ymddiriedwyd i'w ofal. Ar ol gweled fod ei dir wedi cnydio yn dda, efe a ymresymmodd ynddo'i hun, gan ddywedyd, Beth a wnaf, am nad oes gennyf le i gasclu fy ffrwythau iddo? Yn lle gofyn i Greawdwr y cnwd, Beth a fynni *di* imi ei wneuthur? gofyn a wnaeth efe iddo'i *hun*, Beth a wnaf? a chan brisio mwy ar ei gallineb ei hun nag ar ewyllys Duw, y mae efe yn atteb yn benderfynol, "Hyn a wnaf; mi a dynnaf i lawr fy scuboriau, ac a adeiladaf rai mwy, ac yno y casclaf fy holl ffrwythau a'm da." Nid yw efe yn cydnabod ei ddyled i *roddi*, hyd yn oed ddegwm ei gnwd i Dduw, na chymmaint a lloffion ei faesydd i'r tlodion. Y mae efe yn penderfynu trysori iddo'i hun yn y modd llwyraf:—"Yno y casclaf fy *holl* ffrwythau a'm da."

Ond yn ol dysceidiaeth Crist, nid y degwm yn unig a bia Duw, eithr y cwbl oll. *Efe* yw'r perchennog, ac nid yw dŷn ddim amgen na goruchwyliwr ar ei dda ef. Yn hytrach, gwas ydyw efe yn marchnatta âg arian ei Arglwydd, ac yn gyfrifol iddo am y defnydd y mae yn ei wneyd o honynt. Nid yw'r Iesu, y mae yn wir, yn dywedyd wrth *bob* discybl, "Gwerth yr hyn oll sy gennyt, a dyro i'r tlodion," eithr y mae efe yn dywedyd *hynny* wrth ambell un—ïe, yn y dyddiau hyn; ac y mae yn gwneyd hynny er mwyn dangos mai efe yw'r meistr, ac hefyd er mwyn dangos fod yn haws i ambell ddŷn fyned i mewn i'r bywyd o ganol prinder nag o ganol llawnder. Dïau y gwyddoch chwi eich hunain am rywun yn rhywle ag y byddai yn fendith iddo fo'i hun rannu ei holl dda, a myned i *ennill* ei dammaid am ryw bymtheg swllt yr wythnos. Fel y dywedir mai llwyr ymattal oddi wrth ddiodydd meddwol ydyw unig ddiogelwch rhai rhag meddwdod, felly y gellir dyweyd mai llwyr ymwadu âg arian ydyw unig ddiogelwch rhai rhag ariangarwch. Wrth un o'r cyfryw rai y dywedodd Duw trwy Eliphas y Temaniad, "Tafl dy bethau gwerthfawr i'r llwch, ac aur Ophir i blith cerryg yr afonydd, a'r Hollgyfoethog a fydd yn drysor i ti. Bydd Duw i ti yn grug o arian; yna yr ymhoffi ynddo, ac a ddyrchefi dy wyneb atto. Ti a weddïi arno, ac yntau a'th wrendy."

Ond er fod Duw yn gorchymmyn i gybyddion wneyd aberth mawr, etto gorchymmyn y mae efe i'r cyffredin iawn arfer eu harian er gogoniant i Dduw, ac er ymwared i ddynion. Wrth roddi i ddŷn anghenus yr ydys yn rhoddi i Dduw, ac wrth roddi i Dduw yr ydys yn rhoddi i un sydd yn cadw yr hyn a roddwyd atto erbyn y dydd hwnnw, ac erbyn tragwyddoldeb. Nid ŵyf fi yn proffesu fy mod yn deall yn iawn beth a feddylir wrth drysori i ni

ein hunain drysorau yn y nef; ond yr ŵyf yn credu fod i'r ymadrodd ystyr mwy pennodol o lawer nag a ddyry esponwyr iddo—ei fod o leiaf yn meddwl hyn, sef nad oes dim a roddom o gariad ar Dduw a dŷn yn myned ar goll, eithr ei fod yn myned o'n blaen, mewn rhyw ffurf, i'r byd tragwyddol. Yr arian matterol a gyfrannom er *mwyn* Duw ar y ddaear, ni a'u cawn hwy yn arian ysprydol *gyd* â Duw yn y nef. Hwynt-hwy, wedi eu trawsffurfio a'u hysprydoli, a fydd ein ffortun yno, a chan y byddant wedi eu hysprydoli trwy gael eu dyrchafu i blith y pethau sydd uchod, y mae yn iawn ac yn fuddiol ini roddi'n serch arnynt. Na roddwn ein càlon ar y trysor sy gennym ar y ddaear, eithr *rhoddwn* ein càlon ar hynny o drysor sy gennym yn y nef; canys y mae hwnnw wedi ei santeiddio gan awyr y lle, ac y mae'r gàlon a ymddyrchafo at drysor santaidd yn myned yn santaidd ei hun. Ni pherthyn i mi wybod pa faint o drysor sy gennych ym mangciau dynion; ond dywedwch imi pa faint o drysor sy gennych ym mangc Duw, a minnau a ddywedaf i chwithau pa fath fyd a fydd hi arnoch y tu draw i'r bedd. A ydyw y pyrsau sy gennych yn y nef yn hŵy na'r pyrsau sy gennych ar y ddaear? Hwy a ddylent fod, yn sicr; canys y mae tragwyddoldeb yn hŵy o lawer na'r gweddill o'ch einioes yn y byd hwn. A oes gennych yn y byd arall ddigon o ffortun i fyw arni yn helaethwych; ïe, yn weddol ddibryder, dros oesoedd diderfyn tragwyddoldeb? Nid ofn nad âf i'r nef sydd arnaf fi, eithr ofn y byddaf wedi myned trwy fy eiddo cyn dydd y farn; neu ofn, o leiaf, y bydd raid imi fyw yn gynnil iawn i wneyd iddo barhau yn llawer hwy. Y mae gennyf dippyn o geiniog, ond a ydwyf yn *gyfoethog* tuag at Dduw? Y mae gennyf ychydig o olew; ond a oes gennyf ddigon i gadw'r lamp yn olau hyd hanner nos? Y mae gennyf ychydig o grefydd; ond a oes gennyf ddigon o grefydd i fyw arni

yn dragywydd? Hyd yn oed pe bae fy nghrefydd yn bur, mi a ofnwn anturio myned gyd â hi i dragwyddoldeb heb ei bod yn fawr hefyd; canys yr ŵyf yn cofio mai nid am nad oedd ganddynt *ddim* olew yr aeth y pum morwyn i helbul, eithr am nad oedd ganddynt ddigon o hono. Yr oedd ganddynt olew yn eu lampau, ond nid oedd ganddynt ddim olew yn eu llestri. Gyfeillion, nac ymfoddlonwn ar ddigon o stôr i'n dwyn hyd at y nef, na hyd yn oed i'r nef; mynnwn ddigon o stôr i fyw arni dros byth *yn* y nef. Y rhai sy'n *gyfoethog* tuag at Dduw a all fforddio byw yn fras hyd yn oed yn y wlad well. Fe fydd maint ein mwyniant yn cyfatteb i faint ein trysor.

Y mae ynfydrwydd y goludog yn ymddangos *yn yr ail le, yn ei waith yn hyderu ar amser nad oedd ganddo ddim gafael sicr ynddo.* Y mae ei holl ferfau yn yr amser a fydd ac nid yn yr amser y sydd—gwnaf, tynnaf i lawr, adeiladaf, casclaf; a chan neidio i amser pellach fyth, y mae efe yn rhagfynegu beth a ddywed efe wrth ei enaid ar ol tynnu i lawr ac adeiladu a chasclu:—"*Yna* y dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae gennyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd, Gorphwys, bwytta, ŷf, bydd lawen." Er fod ei dir wedi cnydio yn dda, nid yw efe yn foddlon; canys y mae yn gofyn yn bryderus iddo'i hun, Beth a wnaf? Nid yw efe yn disgwyl mwynhau y da a roes Duw iddo, hyd oni bydd efe wedi gorphen gwneyd yr holl bethau a fwriadodd ei gàlon ef ei hun. Os yw efe yn llawenychu o gwbl, llawenychu y mae yn y byd esmwyth y mae yn ei *addo* iddo'i hun ar ol hyn, ac nid yn yr amgylchiadau llwyddiannus y mae efe ynddynt ar hyn o bryd. Gan ei fod yn anfoddlon ar y da oedd ganddo, ac yn chwennychu rhywbeth nad oedd ganddo, ni ellid disgwyl iddo deimlo yn ddiolchgar i Dduw. Nid allwn iawn ddiolch i Dduw am ei drugaredd-

au, os nad ydym yn eu hiawn brisio; ac os nad ydym yn gallu mwynhau y da yr ydym yn ei feddu, nid allem chwaith fwynhau y da yr ydym yn ei chwennychu. Hwyrach y *buasai* y goludog yn llawen, pe cawsai efe orphwys oddi wrth ei waith cyffredin er mwyn ymroi i fwytta ac yfed; ond y mae yn sicr na buasai efe ddim yn ddedwydd. Yn wir, y mae yn ammheus a fuasai efe yn llawen yn hir; canys y mae'r bobl sydd wedi hir ymroi i fywyd prysur yn analluogi eu hunain i ymroi i fywyd esmwyth. Os un o dduwiau'r byd hwn a fynnwch ei ddilyn, y mae yn well i chwi ddilyn yr un un hyd y diwedd. Nid yw y duwiau Bacchus a Gwener yn rhoi nemmor o groeso i'r bobl sydd yn cilio attynt oddi wrth y Duw Mammon.

Byw yn brysur, gan ddisgwyl byw yn segur; byw yn fydol mewn gobaith byw yn gnawdol yr oedd y gŵr goludog, ac yn y gobaith hwn fe'i siommwyd. Fe'i siommwyd am nad ystyriodd mor ansicr yw amser. Adeiladaf, eb efe; Nid adeiledi, ebe Duw. Casclaf, eb efe; Ni chescli di ddim, ebe Duw. "Fy enaid, y mae gennyt dda lawer." Ni fydd gennyt gymmaint a chorff yfory. Wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd:— "Y nos *hon* y gofynnant dy enaid oddi wrthyt." Oni welaist ti gennadon Angau yn gwibio neithiwr o amgylch dy wely? Heno, hwy a ofynnant dy enaid oddi wrthyt, gan ei *dynnu* allan o'th gorff, a'i lusco i fyd nad oes dim bwytta ac yfed o'i fewn.

Och, onid oes llawer heb law y gŵr goludog yn hyderu ar amseroedd sydd yn guddiedig gyd â Duw? "Yfory," meddant, "ni a awn i gyfryw ddinas ac a farchnattawn." Beth am y nos sy rhyngoch ac yfory? Pe deuai angel marwolaeth heno at erchwyn dy wely, a dywedyd, "Enaid,

ymddibridda, ymddiosc, a thyred gyd â mi i'r daith bell, bell;" a ddywedet ti, "Deuaf yn llawen?" Os na allet ti ddywedyd hynny, pa hawl sy gennyt i ddodi dy ddwylaw yn hŷf ar yfory dy Greawdwr? Os nad oes iti ran yn Nuw, pa ran gyfreithlawn sydd iti yn amseroedd Duw? Os nad wyt ti yn gymmwys i farw heno, pa fodd y byddi yn gymmwys i fyw yfory?

Fy nghyfaill, Duw yn unig a ŵyr a fyddi di neu a fyddaf fi farw y nos hon; ond ni a wyddom y byddwn farw rywbryd, ac ni wyddom pa bryd. Nid oes dim yn sicrach na'n marwolaeth, na dim yn *an*sicrach nag amser ein marwolaeth, ac y mae y sicrwydd a'r *an*sicrwydd yma yn ein cymmell i ymbarottoi. Y mae yn sicr mai pregethwr arall a fydd yn y pulpud hwn ym mhen can mlynedd, ac mai gwrandawyr eraill a fydd yn y seddau yna. Erbyn hynny, fe fyddwn ni i gyd wedi diflannu. Gallwn ragfynegu yn ddifeth am bob dŷn a enir i'r byd, y bydd efe farw yn ddïau. Nid allwn ragfynegu dim arall am dano, heb ddywedyd, "Efallai, hwyrach, yscatfydd." Efallai y bydd efe yn iach, ac efallai y bydd efe yn afiach. Efallai y bydd efe yn gyfoethog, ac efallai y bydd efe yn dlawd. Efallai yr eiff efe yn hên, ac efallai nad eiff efe ddim. Efallai y prioda efe, ac efallai na phrioda efe ddim. Efallai y bydd ganddo etifedd, ac efallai na bydd ganddo yr un. Ond pwy a ddywedai "Efallai y bydd efe farw, ac efallai *na* bydd efe farw?" Gan farw, efe a fydd farw, yn ddïau. Y mae efe *yn* marw beunydd. Fel y mae'r ganwyll yn ymlosci ac yn darfod wrth oleuo, felly y mae yntau yn marw wrth fyw. Y mae pob diwrnod o fyw yn ei ddwyn yn nes i'r bedd. Ai byw a ddywedais i? Braidd y mae yn wiw galw peth fel hyn yn fyw. Y mae amser i eni ac amser i farw; ond nid oes dim amser priodol i fyw.

Marw yn y nos a wnaeth y gŵr goludog; a hynny, efallai, trwy law yspeilwyr a murnwyr. Ni welais i neb yn marw yn y nos; ond y mae yn hawdd gennyf ddychmygu fod marw yn y nos yn fwy trist ac ofnadwy (hyd yn oed) na marw yn y dydd. Ar ol i Ioan ddywedyd i Judas fyned allan o'r oruwch-ystafell i fradychu Mab y dŷn, y mae efe yn chwanegu, "Ac yr oedd hi yn nos." Yr oedd tywyllwch a distawrwydd y nos yn gwneyd y fradwriaeth ei hun yn erchyllach. Er hynny, nid yw marwolaeth a ddigwyddo yn nistawrwydd y nos, wrth olau gwelw lamp neu gannwyll, ddim bob amser yn fwy ofnadwy na marwolaeth a ddigwyddo wrth olau siriolach yr haul; canys y mae hi mewn rhyw ystyr yn nos ar rai wrth farw yn y dydd, ac yn ddydd ar eraill wrth farw yn y nos. Yr oedd hi yn nos ym mhob ystyr ar y gŵr goludog; ac y mae mesur o dywyllwch nos yn gorchuddio hyd yn oed ei dynged. I ba le yr aeth efe, meddwch, ar ol ei farw? Nid yw yr Iesu yn dywedyd; ac am hynny, nid yw yn weddus i minnau ddyweyd yn bendant, er fod rhediad yr hanes yn peri imi *ofni* y gwaethaf am dano. Ni ddywedir pa un ai angylion gwynion ai angylion duon a gipiodd ei enaid ef ymaith—"y nos hon y *gofynant* dy enaid;" ni ddywedir pwy a'i gofynodd. Ond dywedwch ini, ebe rhywrai, ym mha gyfeiriad y dygwyd ef ymaith, ac yna ni a allwn ddyfalu pa un ai fry ai obry yr aeth efe. Ni welodd neb mono yn cychwyn oddi cartref—"yr oedd hi yn nos." Fe dybiodd un iddo weled oddi draw rywun tebyg iddo ar y ffordd sydd yn myned tuag uffern obry, ond nid oedd yntau yn barod i dyngu mai y goludog oedd efe; canys "yr oedd hi yn nos!" Mi a ddywedais fy mod yn *ofni* y gwaethaf am ei dynged; ond nid y modd y bu efe farw sydd yn *peri* imi ofni, eithr y modd y bu efe fyw. Trysori iddo'i hun yr oedd efe hyd y diwedd; a chan na thrysorodd efe ddim *i* Dduw ar y ddaear, nid

oedd ganddo drysor *gyd* â Duw yn y nef. Er cymmaint oedd ei gyfoeth daearol, nid oedd efe yn gyfoethog tuag at Dduw. Yn dlawd y bu efe fyw ac yn dlawd y bu efe farw.

Fe fu farw heb drefnu ei dŷ na'i dir. Fe fu ei berthynasau pell ac agos yn ymrafaelio yn dost am ei eiddo, ac ni wyddys eiddo *pwy* a fu'r pethau a baratoes efe. Y mae pob maes oedd ganddo wedi newid dwylaw gannoedd o weithiau, yr hyn sydd yn profi mai y Brenin tragwyddol, anfarwol ydyw gwir berchennog pob peth, ac nad all dynion ar y gorau fod yn ddim amgen na deiliaid neu denantiaid dros amser; ac am hynny y dywed Dafydd wrth Dduw, "Oddi wrthyt ti y mae pob peth, ac o'th law dy hun y rhoesom i ti; o herwydd (sylwch ar y rheswm) —o herwydd dieithriaid ydym ni, ac alltudion fel ein holl dadau; fel cyscod yw ein dyddiau ni ar y ddaear, ac nid oes ymaros." Nid yw dynion yn cael aros digon yn y byd hwn i allu perchennogi dim o hono.

Y mae ynfydrwydd y goludog yn ymddangos *yn y trydydd lle*, yn ei waith *yn cynnyg boddloni ei ran ysprydol â phethau anianol.* "Dywedaf," eb efe, "wrth fy enaid, Fy enaid, y mae gennyt ddâ lawer, wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwytta, ŷf, bydd lawen." Y *mae* gorphwysdra ysprydol, a llawenydd ysprydol; ond nid am y rheini yr oedd y goludog yn meddwl. Dyma ystyr y geiriau a ddywedodd efe wrth ei enaid:—Gorphwys, er mwyn bwytta ac yfed; ac ymro i fwytta ac yfed er mwyn bod yn llawen. Ni *fuasai* gorphwysdra moethus o'r fath yma ddim yn orphwysdra i'w enaid; ac ni fuasai llawenydd gwagsaw o'r fath yma ddim yn llawenydd i guddiedig ddŷn ei gàlon. Pan y caffo yr enaid hyd i waith teilwng o hono'i hun, y pryd hwnnw y

mae efe yn gorphwyso mewn gwirionedd, pan y tystiolaetho'r gydwybod wrth ddŷn ei fod yn gwneuthur ewyllys ei Dad, yr hwn sydd yn y nefoedd, y pryd hwnnw y mae efe yn wir lawen. Wn i ddim a oes llawer yn *llefaru* wrth eu henaid mor ynfyd a'r gŵr goludog; ond mi wn fod llawer iawn yn ymddwyn tuag at eu henaid mor ynfyd ag yntau; canys cynnyg y maent iddo dda'r byd hwn yn lle da'r byd arall, a phethau'r cnawd yn lle pethau'r yspryd. Yn hyn o beth y maent mor ynfyd a phe cynnygient i'w corff garreg yn lle bara, a sarff yn lle pyscodyn. Y mae dŷn yn fwy na'i gorff; ac nid ar fara yn unig y bydd byw dŷn, eithr ar bob gair Duw. Y *geiriau* sydd yn dyfod allan o enau yr Arglwydd a ddichon lenwi genau yr enaid. Rhaid i yspryd tragwyddol wrth eiriau y bywyd tragwyddol. Da tragwyddol yn unig sydd yn dda gwirioneddol. Gwir werth y da sydd yn ei wneyd yn dragwyddol; a'r ffaith ei fod yn dragwyddol sydd yn profi ei wir werth. Y mae bara Duw yn wir fara am ei fod yn fwyd a bery. Y mae y dillad gwynion a ddyry Duw i'w saint yn ddillad gwerthfawr, am eu bod yn ddillad ni heneiddiant. "A ydyw'r brethyn hwn yn frethyn da?" ebe'r prynwr. "Y mae o'r *best West of England*," ebe'r gwerthwr. "Chwi a welwch wrth y nôd a'r argraff sydd arno ei fod wedi ei warantu i barhau yn hir. Y mae gennyf frethynau eraill; ond hwn yw'r gorau, a'r rhattaf hefyd yn y diwedd. Craffwch arno. Teimlwch ef." Beth am y llian main, sef cyfiawnder y saint? Y mae o'r llian gorau yn y byd; canys y mae wedi ei warantu i barhau yn dragywydd. Ni chyll efe mo'i raen yn y dŵr na'r tân; yn ymchwydd yr Iorddonen nac yngwir wres y goelcerth fawr. Bernwch, attolwg, drosoch eich hun. Deliwch ef rhyngoch a golau'r farn a'r byd tragwyddol. A welwch chwi ryw ddiffyg arno? Bellach, cymmharwch âg ef y pethau mwy darfodedig sy gennyf i lawr yma, ac i

fyny accw:—"Dyrchefwch eich llygaid tua'r nefoedd uchod, ac edrychwch ar y ddaear isod; canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant meirw, ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd."

"Fy enaid," ebe'r goludog, "y mae gennyt dda lawer, wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd." Ond, O! ynfyd, beth a fydd gennyt pan ddarfyddo'r da hwnnw, neu pan symmuder di oddi wrtho, a pha beth a wnei ar ol i'r blynyddoedd hynny fyned heibio? A bwrw fod dy bethau da yn ddigon i'th foddloni ar hyn o bryd, hwy a'th siommant rywbryd, os nad ydynt yn ddigon da i barhau yn dragywydd. "Y da tragwyddol sy'n dda gwirioneddol."

Y mae yn rhydd i bob dŷn ddywedyd wrth ei enaid am orphwyso; ond gorphwyso oddi wrth ba beth, ac *ym* mha beth? Y mae yn rhydd iddo ddywedyd wrtho am fwytta ac yfed, ond bwytta ac yfed pa beth? Y mae yn rhydd iddo ddywedyd wrtho am fod yn llawen, ond llawen o achos pa beth? Rhaid i'r gorphwysdra, a'r ymborth a'r llawenydd a foddlona'r enaid fod yn gyfaddas i'r enaid. Nid trwy ymestyn ar lythau y gellir rhoi gorphwysdra i hwn. Nid mewn gwledd y gellir bwydo a diodi hwn; ac nid yn y maes chwarau y gellir gwneyd hwn yn wir lawen. Ym mynwes y Tad y gall yr enaid ymorphwys; ar gnawd a gwaed Mab y dŷn y gall efe ymborthi; ac ynghymdeithas yr Yspryd Glân y gall efe ymlawenhau. Pan y bo'r Duw tragwyddol, anfeidrol gennym, yn Dduw trosom yn ei Fab, ac yn Dduw ynom trwy ei Yspryd, y pryd hwnnw y gallwn ddywedyd wrth ein henaid fod ganddo dda lawer. Y mae Duw ynddo'i hun yn drysor i'r enaid;

ond nid am y trysor sy ganddo *yn* Nuw y mae y testyn yn sôn, eithr am y trysor sy *gyd* â Duw; ac y mae yn rhaid iddo fo'i hun gasclu'r trysor hwn ar y ddaear. Fe all yr enaid felly fod yn gyfoethog mewn dwy ffordd, sef trwy fod yn gyfoethog *yn* Nuw, a thrwy fod yn gyfoethog *tuag at* Dduw.

"A gaf fi'ch merch yn briod imi?" ebe rhyw langc wrth hên ffarmwr yn Nyffryn Clwyd. "Cei a chroeso,' ebe yntau; "ond ni chei di yr un ffyrling gyd â hi—y mae hi yn ddigon o ffortun ei hun." Fy enaid, y mae dy Dduw mor fawr a gwerthfawr, fel na rydd efe *i* ti yn y nef ddim oll heb law efe ei hunan. Os mynni gael rhywbeth yn ychwaneg, y mae yn rhaid iti ymorol am dano dy hun. Y mae yn ddïau y gelli fyw yn gyssurus ddigon, dros dragwyddoldeb, ar Dduw ei hunan; ond os mynni fyw yn helaethwych, rhaid iti wrth dippyn o ffortun dy hun; ac am hynny y dywed yr Iesu, "Trysorwch i chwi eich hunain drysorau yn y nef." Byddwch nid yn unig yn gyfoethog *yn* Nuw, trwy dderbyn ganddo; ond byddwch hefyd yn gyfoethog *tuag at* Dduw, trwy gyfrannu iddo.

Rhowch eich cwbl bach eich hun yn gyfnewid am ei gwbl mawr ef. Y mae efe yn cadw yn ddiogel erbyn y dydd hwnnw, ac erbyn y byd a ddaw yr hyn a roddoch atto ef; ac y mae pob peth sydd ynghadw gyd âg ef yn myned yn fwy ac yn harddach, fel y synnwch chwi eich hunain yn nydd y farn pan weloch y gweithredoedd da a wnaethoch mewn cariad yn ymddangos yn weithredoedd mor wych. Y mae y rhain, ynghyd â phob peth a roddoch i'r Arglwydd o'ch amser, o'ch arian ac o'ch doniau, yn myned o'ch blaen i'r farn. Yno chwi a'u cewch wedi eu selio, ac wedi eu cyfeirio i'ch trigfan dragwyddol yn y

nef. Felly, chwi a welwch fod pob peth a drysoroch i Dduw, a chyd â Duw, yn myned yn y diwedd yn eiddo priodol i chwi eich hunain. Y mae yr hwn sy, fel y gŵr goludog, yn trysori iddo'i hun yn colli'r cwbl, a'r hwn sydd yn trysori i'r Arglwydd yn cael y cwbl; a thrwy hynny yn myned yn gyfoethog tuag at Dduw.

*Hydref 22ain, 1896.*

## XII.

## Y MAMMON ANGHYFIAWN.

"*Ac yr wyf yn dywedyd i chwi, Gwnewch i chwi gyfeillion o'r mammon anghyfiawn: fel, pan fo eisieu arnoch, y'ch derbyniont i'r tragwyddol bebyll.*"—Luc xvi. 9.

Yngolwg y duwinydd, y mae y Testament Newydd yn rhagori yn fawr ar yr Hên, am ei fod yn cynnwys syniadau uwch a chywirach am Dduw, ac am ddyledswydd dŷn tuag atto; ond yngolwg y llenor, y mae yr Hên yn rhagori ar y Newydd, am fod ynddo fwy o awen ac athrylith ac ôl celfyddyd. A siarad yn gyffredinol, y dynion gorau o'r dosparth uchaf oedd awdwyr yr Hên Destament; ond y dynion gorau o'r dosbarth cyffredin, neu'n fanylach, o'r haen isaf o'r dosparth canol, oedd awdwyr y Testament Newydd. Fe fuasai awdwyr yr Hên Destament yn scrifenwyr gwych pe buasai'r Yspryd Glân heb eu cynhyrfu i scrifennu; ond y mae yn amheus a fuasai awdwyr y Testament Newydd yn meddwl am scrifennu oni buasai fod anghenrhaid arnynt i scrifennu, er mwyn taenu ac egluro ac amddiffyn Cristionogaeth. Er fod yr apostolion yn gwybod dwy neu dair o ieithoedd, ac felly yn ddyscedicach mewn un peth na'r rhan fwyaf o bregethwyr Cymru, etto, nid oes dim lle i gasclu eu bod yn medru eu tafodiaith eu hunain, sef yr Aramaeg, yn well na'r cyffredin. Nid yw yn debygol eu bod yn gwybod digon o Ladin i allu scrifennu, a llefaru yn gyhoeddus ynddi; ac fe ddywed rhai cymmwys i farnu mai prin yr oeddynt yn gallu traethu eu meddwl yn llyfn

ac yn gywir yn y Roeg chwaith, sef y iaith y scrifensant ynddi. Y mae y llythyr at Philemon, a'r drydedd bennod ar ddeg a'r bymthegfed bennod o'r llyfr cyntaf at y Corinthiaid yn dangos y *gallasai* Paul scrifennu yn wych, pe buasai ganddo fwy o amser, a mwy o amynedd; ond yr oedd ei dymmer ef mor danllyd, a'i fywyd mor brysur, fel na allodd efe wneyd tegwch âg ef ei hun fel scrifennwr. Y mae yr ôl brys sydd ar ei lythyrau yn peri fod ynddynt rai pethau anhawdd eu deall—pethau yr oeddid yn eu gŵyrdroi yn amser yr apostolion eu hunain, a phethau sydd ysywaeth wedi achlysuro ymddadlau ac erlid yn yr eglwys o hynny hyd yn awr. Ni scrifennodd yr Iesu ddim, ond efe a lefarodd lawer; ac yn lle llefaru mewn iaith nad oedd efe yn gwbl hyddysg ynddi, fel y gorfu i'r apostolion wneyd, fe barhaodd efe hyd y diwedd i lefaru yn iaith gyffredin ei wlad ei hun. Dyma un achos pa ham y mae yr efengyl gymmaint symlach a goleuach yn ei enau ef nag yngenau'r apostolion. Heb law hynny, yr oedd efe, a llefaru yn naturiol, yn fwy dŷn nag un o'r apostolion. Yr oedd ganddo fwy o'r bardd, a mwy o'r llenor; ac am hynny y mae cynnyrchion ei feddwl ef—ei ddamhegion, yn enwedig—yn gamp-weithiau celfydd a gorphennedig. Wrth y damhegion disglaer hyn, y mae gemmau'r Hên Destament ei hun yn ymddangos yn bŵl, ac y mae pennodau gwychaf yr apostolion yn ymddangos yn gyffredin iawn. Y mae hyd yn oed y rhai sy'n taeru nad oes na phrydferthwch na rhesymmeg yn scrifeniadau Paul a Phedr a Iago yn cyttuno i ganmol damhegion yr Iesu.

Ond am y ddammeg a gymmerwyd yn destyn, y mae hi nid yn unig wedi bod yn destyn gwawd i anffyddwyr, ond hefyd wedi bod yn faen tramgwydd i lawer o Gristionogion, yn enwedig i'r dosparth culfarn hwnnw ag sy'n

galw eu hunain yn Brotestaniaid Efengylaidd. Y mae angredinwyr yn ei chondemnio o herwydd fod ei haddysg foesol yn eu barn hwy yn anfoesol; ac y mae y blaid efengylaidd o Gristionogion yn tramgwyddo wrthi, am ei bod yn myned yn erbyn eu syniadau duwinyddol hwy am rad ras Duw, ac am le gweithredoedd da ynghyfiawnhad dŷn. Y mae rhai o honynt, er mwyn gwneyd Iesu Grist mor uniongred ac efengylaidd ag sydd bossibl, yn gŵyr-droi ystyr y ddammeg, gan ddywedyd mai bwriad ei hawdwr oedd dyscu mai ffydd ac nid cariad yw y gras pennaf. Y mae eraill o honynt yn dadlau na lefarodd yr Iesu mo'r fath ddammeg, ac fod yn rhaid mai rhyw gopïwr o Babydd a'i gwthiodd i mewn i'r Beibl, ac am hynny hwy a fynnent ei bwrw allan o'r Beibl, fel y mynnai Martin Luther fwrw allan epistol Iago, pan welodd efe nad oedd dysceidiaeth yr epistol hwnnw ddim yn ymasio â'i *system* dduwinyddol ef. Erbyn hyn, y mae gan y Cristionogion gonestaf fwy o barch i'r Yscrythyrau nag sy ganddynt i systemau duwinyddol y Diwygwyr Protestan-aidd a'r Puritaniaid; ac yn lle gwneyd esponiadaeth yscrythyrol yn ddarostyngedig i dduwinyddiaeth, y maent hwy yn gwneyd duwinyddiaeth yn ddarostyngedig i esponiadaeth. "At y gair ac at y dystiolaeth, ac nid at y Gyffes Ffydd a'r Catecism," yw eu harwyddair hwy. Y mae systemau duwinyddol yn newid o oes i oes yn ol yr athroniaeth a'r wyddoniaeth a fyddo mewn bri, ond gair yr Arglwydd sydd yn parhau yn dragywydd. Os yw yr Iesu yn ein hannog i efelychu y goruchwyliwr anghyfiawn yn ei gallineb, ac i sicrhau i ni'n hunain well derbyniad i'r nef trwy fod yn hael ar y ddaear, pa ham y rhaid ini dramgwyddo a chyffroi fel pe byddai y byd ar ben? Pa ham y dylem ofni nad oedd yr Iesu yn iach yn y ffydd am ei fod ef yn rhyddach ei syniadau am gyfiawnhad na Chalvin a Luther? A fynn rhywun haeru mai llithro ar

air a wnaeth yr Iesu wrth lefaru y ddammeg wrth-Galvinaidd a gwrth-Lutheraidd hon? Nid gwiw iddo haeru hynny; canys y mae dysceidiaeth y ddammeg hon yn gysson â dysceidiaeth yr Iesu yn y bregeth ar y mynydd, ac mewn llawer pregeth arall; ïe, y mae hi yn gysson â dysceidiaeth y proffwydi a'r apostolion. Gwrandewch pa beth a ddywed Daniel am rinwedd gweithredoedd da:—"Am hynny, frenin, bydded foddlon gennyt fy nghyngor, a thorr ymaith dy bechodau trwy gyfiawnder, a'th anwireddau trwy drugarhau wrth drueiniaid, i edrych a fydd estyniad ar dy heddwch." "Cariad," sef yw hynny, caredigrwydd, "a guddia liaws o bechodau," medd Pedr. Ac y mae ymadrodd Solomon yn gryfach fyth:—"Trwy drugaredd a gwirionedd y *dilëir* pechod." "Gorchymmyn" (medd Paul wrth Timotheus), "gorchymmyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da; fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfrannu; yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser a ddaw, fel y caffont afael ar y bywyd tragwyddol." A chyn bod Cornelius etto yn Gristion, fe ddywedodd angel yr Arglwydd wrtho:—"Dy weddïau a'th elusenau a ddyrchafasant yn goffadwriaeth ger bron Duw." Yr ŵyf yn addef fod yn bur anodd cyssoni yr adnodau hyn âg adnodau eraill sydd yn y Beibl; ond ni ddylai'r anhawster hwnnw mo'n temtio i'w diystyru trwy gau llygad arnynt, nac i'w camliwio trwy edrych arnynt â llygad melyn. Os ydynt yn wir, ni all nad yw y gwirionedd sydd ynddynt hwy yn gysson â phob rhyw wirionedd arall, pa un bynnag a allwn ni ganfod a dangos y cyssondeb ai ni allwn.

Fel y mae y dwyfol a'r dynol yn ymgyfarfod ymherson y Gwaredwr, felly mae y dwyfol a'r dynol yn ymgyfarfod yn ei athrawiaeth. Hyd yn ddiweddar, ychydig o bwys a

roddid yn yr Eglwys ar ddyndod Crist, ac o achos hynny ychydig o bwys a roddid ar ddynoldeb ei athrawiaeth. *Duw*inyddion—*duw*ofyddion oedd agos holl ddyscawdwyr Cristionogaeth; nid oeddynt fawr o *ddyn*ofyddion. Duw ar wahân i ddŷn oedd eu Duw hwy; Duw mewn dŷn a thrwy ddŷn yw Duw dyscawdwyr presennol. Y dwyfol yn unig a welent hwy mewn crefydd, a'r dwyfol yn unig a welent yn y Beibl. Ysywaeth, y dynol yn unig a wêl dyscawdwyr diweddar yn y naill a'r llall. Ond pa ham na fynnwn gyfuno yr hanner gwirionedd a ddysc y rhain â'r hanner gwirionedd a ddyscai'r hên dduwinyddion? trwy faentumio mai Cristionogaeth yw y grefydd fwyaf dwyfol *a'r* grefydd fwyaf dynol; mai y Beibl yw y llyfr mwyaf dwyfol *a'r* llyfr mwyaf dynol; ïe, mai efe yw y mwyaf dwyfol am mai efe yw y mwyaf dynol; ac mai efe yw y mwyaf dynol am mai efe yw y mwyaf dwyfol.

Yn awr, yr ochr ddynol i grefydd sy'n ymddangos yn y testyn. Yma, y mae yr Iesu yn llefaru fel dŷn wrth ddynion, ynghylch eu dyledswydd yn y byd hwn, a'u gwobr yn y byd a ddaw. Pa beth, mewn iaith gyffredin, yw ystyr ei eiriau? Hyn:—Byddwch gall, trwy frysio i wneyd y fargen fwyaf manteisiol i chwi eich hunain. Gwariwch ar y ddaear er mwyn trysori yn y nef. Cyfrennwch ar dde ac ar aswy, fel y caffoch rywrai i'ch pleidio yn y farn, ac i'ch croesawu i'r nef. Arferwch eich arian i wneyd cyfeillion, a lynant wrthych yn well ac yn hwy na brawd; canys y mae câr mewn llys yn well na modrwy ar fŷs. "Gwnewch i chwi gyfeillion â'r mammon anghyfiawn," â'r gau olud, fel pan ffaeloch—pan eloch yn fethwyr *(bankrupts)* trwy golli'ch gwallt a'ch dannedd a'ch iechyd; fel pan fethoch—pan fethoch â gweled, a cherdded; fel pan fethoch â *byw*, y'ch derbyniont i'r tragwyddol bebyll. Pa ham, meddwch, y mae'r Iesu yn

cymmell dynion i fod yn garedig â chymhellion mor isel? Am fod dynion yn gymmaint *o* ddynion—neu, os mynnwch, yn gymmaint o blant, fel na ellir cyffwrdd â'u calonnau oddi gerth trwy appelio at eu cariad ar ddedwyddwch. Trwy bechod, hwy a gollasant eu cariad ar santeiddrwydd, ond y mae eu cariad ar ddedwyddwch yn parhau cyn gryfed ag erioed; am hynny, trwy borthi y cariad hwn y gall Duw yn gyntaf oll ddylanwadu arnynt a chael cyfleustra i ennyn ynddynt gariad ar santeiddrwydd. Yn y dechreuad, yr oedd cariad ar santeiddrwydd a chariad ar ddedwyddwch yn un yn eu bôn; canys ni ellir caru dedwyddwch *perffaith* heb garu santeiddrwydd, am fod gwir ddedwyddwch yn cynnwys gwir santeiddrwydd. Dedwyddwch anianol y mae dŷn pechadurus yn ei chwennych; ond y mae ei fod yn chwennychu rhyw fath o ddedwyddwch yn ei wneyd yn greadur possibl i Dduw ei santeiddio. Y cariad ar ddedwyddwch ydyw yr unig beth mewn pechadur ag sy'n rhoddi i Dduw afael arno. Hwn sy'n rhoi mantais i'r Iachawdwr i gael craff arno. Cyn cael ei achub, ac wrth gael ei achub, y mae pob dŷn yn hunangar; ar *ol* ei achub y mae efe yn myned yn anhunangar. Wrth droi at Dduw, llefain y mae efe, "Beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?" Wedi troi, gofyn y mae efe, "Arglwydd, beth a fynni di imi ei wneuthur," trosot dy hun a thros eraill? Y mae Duw yn ei ddyscu i ofalu am eraill trwy beri iddo yn gyntaf oll ofalu am dano'i hun. Ofer a fyddai iddo ddywedyd wrth ddŷn, Trugarha wrth eraill, cyn dywedyd yn gyntaf, Trugarha wrthyt dy hun. Yr oedd gynt ymhlith y paganiaid ddosparth o athronyddion oedd yn dyscu y dylai dynion garu a gwneuthur daioni yn unig am fod hynny yn beth iawn, ac nid o gwbl am ei fod yn beth manteisiol. Y mae y Stoiciaid hyn yn bod etto ymhlith paganiaid a Christionogion; ac er nad ydynt, o blegid eu llymder, yn ddynion y mae yn

hawdd eu caru, y maent yn ddynion y rhaid i bawb eu parchu.

Stoiciad Cristionogol oedd Henry Rees; ac am ei fod felly yr oedd yn well ganddo salmau Edmwnd Prys nag emynau Williams o Bant-y-celyn. Epicuriad oedd Williams, yn chwennychu nef hanner anianol na roesai Rees ddim ceiniog am fyned i mewn iddi. Crefydd meibion gwŷr ydyw Stoiciaeth; ond y mae y rhai sy'n canmol y grefydd hon yn anghofio mai meibion dynion ac nid meibion gwŷr, yw y rhan fwyaf o drigolion y ddaear; mai creaduriaid gweinion ydynt, ac nid rhai cryfion; ac am hynny y rhaid i'r efengyl dragwyddol, gyffredinol, er mwyn dylanwadu ar bawb ymhob oes ac ymhob gwlad, gyffwrdd â'r ddynoliaeth yn ei gwendid, trwy ei hudo i lwybyr uniondeb ag addewidion teg. Y mae Duw yn ei ras yn ymddwyn tuag attom megis tuag at blant, gan ddangos ini ein dyledswydd â'i law dde, a'r wobr â'i law aswy. Y mae Paul yn annog plant i ufuddhau i'w rhieni am dri rheswm:—"Ufuddhewch, canys hyn sydd gyfiawn"—dyna'r rheswm blaenaf ac uchaf. "Ufuddhewch, canys hyn sy'n rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda"—dyna'r ail reswm. "Ufuddhewch, fel y byddo da i chwi, ac fel y byddoch hir-hoedlog ar y ddaear"—dyna'r rheswm olaf, ac isaf. Y mae y cyngor i ufuddhau i Dduw a dŷn yn gyngor cyfaddas i bawb o bob oed, ac y mae yn weddus ei sylfaenu ar yr un rhesymau. Ufuddhewch, canys hyn sydd gyfiawn ynddo'i hun; ond os ydych yn ormod o blant i ufuddhau er mwyn cyfiawnder noeth, ufuddhewch ynte er mwyn Duw; ac os nad ydych yn ddigon ysprydol i ufuddhau er mwyn Duw, ufuddhewch ynte er eich mwyn eich hun. Pe dechreuech ufuddhau am y rheswm isaf, odid na ddyscech ufuddhau yn y man am resymau uwch.

Yr un ffunud, gwnewch i chwi gyfeillion â'r mammon anghyfiawn, fel pan ffaeloch y'ch derbyniont i'r tragwyddol bebyll; *h. y.*, gwnewch dda yn y byd hwn fel y byddo da i chwithau yn y byd a ddaw. Yr ŵyf yn addef mai y cymhelliad isaf o bob cymhelliad yw yr un sy'n ein cynhyrfu i wneuthur daioni i eraill er ein mwyn ein hunain; ond gan ei fod yn gymhelliad cyfreithlon a Christionogol, y mae yn fuddiol iddo gael lle weithiau yn ein pregethau. Hwyrach mai am fod pregethwyr y dyddiau hyn yn arfer rhesymau rhy wych, ac nid am eu bod yn arfer rhesymau rhy wael, y mae cyn lleied o wrandawyr yn credu i'w hymadrodd. Nid y cymhellion a'r rhesymau cryfaf ynddynt eu hunain sy'n tycio fwyaf gyd â'r cyffredin, eithr yn hytrach y rhai agosaf a mwyaf dealladwy.

Er engraifft, pe'r annogech ryw fath o rieni i ddyscu Cymraeg i'w plant, o blegid fod cenedl-garwch yn gofyn hynny, neu o blegid fod y Gymraeg yn iaith werthfawr ynddi ei hun, y mae achos i ofni mai treulio'ch dawn yn ofer a wnaech; ond pe'r ymostyngech i ddywedyd wrthynt y daw amser pan y bydd gwybod Cymraeg yn fanteisiol i ennill arian a swyddau, a phan y bydd y Saeson eu hunain, fel y mae cenhedloedd y Cyfandir yn awr, yn rhoddi parch deublyg i'r neb a fedro ddwy iaith, chwi a arferech reswm y gallai'r Cymry mwyaf anwladgar ac annysgedig ei brisio. Ac yn wir, onid am y rheswm hwn y mae pendefigion Cymru, yn Gymry ac yn Saeson, yn dechrau ymorol am fammaethod ac athrawon teuluol i ddyscu i'w plant iaith y wlad. Rhesymau anianol sy'n gorfod ar ddynion anianol; a dyna'r achos pa ham y bydd ymgeiswyr mewn etholiadau yn siarad yn ffolach nag y byddant yn siarad yn gyffredin. Y mae yn wir fod rhai o honynt yn siarad yn ffol er eu gwaethaf, sef am na allant

siarad yn gall; ond y mae llawer o honynt yn dywedyd pethau ffol wrth eraill am eu bod hwy eu hunain yn gall —yn gall, meddaf, ac nid yn ddoeth.

Gan fod y rhan fwyaf o ddynion, yn ol tystiolaeth Carlyle, ac yn ol tystiolaeth un mwy na Carlyle, yn ffyliaid, y mae yn rhaid i bregethwyr—ïe, yr oedd yn rhaid i'r apostolion eu hunain ar amserau wneyd eu hunain yn dippyn o ffyliaid er mwyn gallu dylanwadu ar ffyliaid naturiol, a'u gwneuthur hwynt yn ddoeth i iachawdwriaeth. Yr ydych yn cofio cyffes apostol y Cenhedloedd:—"Yr hyn yr ŵyf yn ei ddywedyd, nid ydwyf yn ei ddywedyd yn ol yr Arglwydd, eithr megis mewn ffolineb, canys yr ydych yn goddef ffyliaid yn llawen. Ymwnaethum i'r rhai gweiniaid megis yn wàn, fel yr ynnillwn y gweiniaid; mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb fel y gallwn yn hollol gadw rhai. A hyn yr ŵyf yn ei wneuthur er mwyn yr efengyl."

Dilyn ei athro yr oedd y discybl yn hyn oll; canys pa beth yr oedd yr Iesu yn ei wneyd wrth lefaru geiriau'r testyn? Gwneyd ei hun yn wàn er mwyn ennill y gweiniaid; dyscu dynion i fod yn anhunangar trwy appelio at eu hunan-garwch; eu dyscu i ymserchu yn y pethau sydd uchod trwy gyfeirio eu sylw at y tragwyddol bebyll. Ar air, y mae efe yn eu hannog i fod yn gall er mwyn eu dyscu i fod yn ddoeth; canys mewn dŷn fel y bwriadwyd iddo fod, y mae doethineb yn trigo gyd â challineb.

Os daliwn y testyn yngolau'r holl ddammeg, annogaeth a gawn ynddo i fod yn gall fel y goruchwyliwr. Yr oedd callineb y goruchwyliwr yn ymddangos mewn dau beth. Ym mlaenaf, yr oedd efe yn ystyried ei ddiwedd; ac y mae ystyried y diwedd yn gallineb mor oruchel fel y

geliir ei gyfrif yn *ddoethineb.* "O na baent ddoethion (meddai Duw), na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd." Pan gafodd y goruchwyliwr orchymmyn i roi cyfrif o'i oruchwyliaeth, fe ofynnodd ynddo'i hun, "Pa beth a wnaf—pa beth a wnaf; canys y mae fy arglwydd yn dwyn yr oruchwyliaeth oddi arnaf." A chyd â'i fod wedi gofyn y cwestiwn iddo'i hun, y mae yn barod i'w atteb yn benderfynol:—"Mi a ẁn beth a wnaf." Ai hunan-garwch beiadwy ydyw meddwl am y diwedd tragwyddol sy'n dechrau yn angau, sef y diwedd na bydd diwedd arno? Ai llyfrdra anheilwng o ddŷn yw gofyn o rywun, "Pa beth a wnaf," pan y bo angau a barn a thragwyddoldeb yn llygadrythu yn ei wyneb? Onid yw y callineb sy'n dyscu dŷn i ofalu mwy am y pell nag am yr agos—mwy am y tragwyddol nag am yr amserol, yn ddoethineb o'r fath uchaf? Yr hunangarwch sy'n temtio dŷn i aberthu gwynfyd maith y nef er mwyn un awr wèn ar y ddaear—i werthu ei enedigaeth fraint am un saig o fwyd—hwnnw sy'n hunan-garwch isel a gwrthun. Callineb dynol sy'n gofalu dros dranoeth; ond y mae gofalu dros dragwyddoldeb yn gallineb dwyfol. Yr ydys yn canmol y dŷn a ddarparo yn yr haf erbyn y gauaf; a weithio yn y dydd er mwyn cael lle i orphwys y nos. O! y mae nos feithach a duach yn dyfod—nos nad oes ond goleuni Duw a'r Oen a yrr ei thywyllwch i ffoi. Pa faint mwy canmoladwy yw y dŷn a chwilio am letty erbyn y nos honno? I ba le y trown pan y'n bwrier allan o'r oruchwyliaeth, a dyfod o'r gauaf cethin ar ein gwarthaf?

Ar hyn o bryd, goruchwylwyr ydym ni oll ar dda Duw, ein Harglwydd; ac yn y màn fe elwir arnom i roi cyfrif o'n goruchwyliaeth—i ddangos yn fanwl beth a wnaethom â'n harian, â'n hamser, â'n doniau, ac â'n holl freintiau. Cyn hir, fe ddywed yr Arglwydd wrth bob goruchwyliwr,

"Ni elli fod mwy yn oruchwyliwr." Oni roes efe iti yn dy afiechyd diweddaf rybudd i ymadael *(notice to quit)*, cyn Calan Mai neu Galan-gauaf? Cennad angau oedd yr annwyd neu'r clefyd hwnnw; ac y mae angau'i hun yn dyfod draw; ac yn gynt nag yr wyt ti yn meddwl, fe dery ei law oer ar dy ysgwydd, gan ddywedyd, "Y mae yr amser terfynedig ar ben; y mae clychau pyrth marwolaeth yn dechrau tincian. Oni chlywi di'r ceiliog yn canu yn anamserol, ac aderyn y corff yn ymguro yn erbyn y ffenestr? Trefna dy dŷ, canys marw a fyddi." "Y mae yr amser yn rhy fŷr i hynny," medd un. "O! pa beth a wnaf?" "Yr ŵyf fi *wedi* trefnu fy nhŷ cyn i ti orchymmyn i mi," medd un arall; "ac er nad yw fy nghyfrifon yn gwbl gywir, mi wn beth a wnaf."

*Yn yr ail le*, yr oedd callineb y goruchwyliwr yn ymddangos yn ei waith yn *gofalu am dano'i hun trwy ofalu am eraill.* Yr oedd efe wedi deall mai trwy garu eraill y gallai efe yn orau garu ei hun. Fe *allasai* geisio'i ddedwyddwch trwy gadw arian ei arglwydd ei hun; ond fe ddewisodd yn hytrach geisio ei ddedwyddwch trwy eu rhoddi hwynt i eraill. Fe farnodd y byddai cyfeillion diolchgar a dylanwadol yn fwy o amddiffyn iddo yn y diwedd na golud anwadal. Beth bynnag a ddyweder am ei amcan, yr oedd ei waith yn ganmoladwy. Os nad oedd efe yn anghofio ei hun wrth fod yn hael, yr oedd yn myned allan o hono'i hun; ac wrth fyned allan o hono'i hun, yr oedd ar y ffordd i *anghofio* 'i hun. Os nad oedd efe yn y dechrau yn hael o gàlon, y mae yn ddïau iddo fyned yn hael ei gàlon wrth ymarfer â bod yn hael â'i law; canys y mae gweithredu yn garedig yn dyscu dŷn i *fod* yn garedig, ac y mae caredigrwydd mawr a maith yn gyffredin yn troi yn gariad. Dyweder a fynner am y goruchwyliwr, yr oedd efe yn siampl ini oll mewn haelioni; ac os mynn

rhywun edliw mai hael ar bwys ei Arglwydd oedd efe, oni ellir atteb mai ar bwys ei Arglwydd y mae pob dŷn yn hael? Pwy all ddywedyd am ei arian, "Wele fy arian i," neu am ei anifeiliaid, "Dyma fy anifeiliaid i?" "Eiddo yr Arglwydd yr aur, ac eiddo ef yr arian." "Yr anifeiliaid ar fil o fynyddoedd ydynt eiddo ef." A gyfrannodd rhywun yn helaeth yn y gascl hon neu arall? Dyweded hwnnw wrth Dduw yngeiriau Dafydd :—"Pwy ydwyf fi, a phwy yw fy mhobl i fel y caem ni rym i offrymmu yn ewyllysgar fel hyn? canys oddi wrthyt ti y mae pob peth, ac o'th law dy hun y rhoisom i ti." Nid oes dim yn eiddo priodol i ni heb law ein pechod. Yngrammadeg y nef, pechod ydyw'r unig enw y gallwn ddodi y rhagenw meddiannol *fy* o'i flaen. Mân ystiwardiaid—goruchwylwyr ydym ni ar amryw ras a doniau Duw. Y mae Arglwydd nef a daear yn hael—yn hael odiaeth; ac y mae efe yn canmol y goruchwylwyr sy'n debyg i'w Harglwydd. Yn ei olwg ef, y mae y goruchwylwyr sy'n cyfrannu yn gwneuthur yn gall, a'r rhai sy'n trysori iddynt eu hunain yn ymddwyn yn ffol, yn anffyddlon, ac yn afradlon. Yn ei olwg ef, nid yr hwn a gasclodd lawer a wnaeth ei ffortun, eithr yr hwn a wascarodd lawer. Nid ffortun ydyw mammon; er hynny fe ellir ennill ffortun trwy y mammon. "Gwnewch i chwi gyfeillion *â'r* mammon anghyfiawn, fel pan ffaeloch, y'ch derbyniont i'r tragwyddol bebyll."

Y mae yn wir nad oes gan lawer fawr o arian i'w cyfrannu; ond y mae gennym oll ryw fammon—ryw dda neu gilydd; y mae gennym naill ai dysc neu ddawn neu amser, neu ynte gydymdeimlad. Cyfrannwn o'r da sy gennym. Gwnewch i chwi gyfeillion â'ch cydymdeimlad; canys y mae y rhinwedd hwnnw gan bob dŷn sy'n haeddu ei alw yn ddŷn. Wylwch gyd â'r rhai sy'n

wylo, a byddwch lawen gyd â'r rhai sydd lawen. Os nad oes gennych ddysc a dawn eich hunain, diolchwch i Dduw am fod dysc a dawn gan rywrai eraill. Os na allwch chwi'ch hunain roddi arian i Dduw ac i dlodion, llawenhewch pan weloch eraill yn rhoddi iddynt. Os nad ydych yn alluog i *gynnorthwyo* eich gilydd, gweddïwch dros eich gilydd. Boed yn dda gennych weled eich cymmydogion yn llwyddo, os byddant yn llwyddo yn deg; a boed ddrwg gennych eu gweled yn aflwyddo. Os na allwch chwi *gyfrannu* dim i'ch gilydd, chwi allwch o leiaf beidio âg eiddigeddu a chenfigennu wrth eich gilydd. Trwy genfigennu, ni wnewch na Duw na dŷn yn gyfaill i chwi; ïe, wrth roi lle i genfigen nid ymddygwch yn garedig tuag attoch eich hunain chwaith; canys y mae cenfigen yn lladd ei pherchennog, ac yn pydru ei escyrn. A ydym yn gwneyd ini gyfeillion â'r hyn sydd gennym, sef â'n cydymdeimlad? Os nad ydym, yna yr ŵyf yn dywedyd yn hŷf, heb ofni cyfeiliorni, na fynnem wneyd ini gyfeillion âg arian chwaith, pe bae arian gennym; canys onid ydym yn ffyddlon yn y lleiaf, ni byddem ffyddlon yn y mwyaf chwaith.

Gan fod cenfigen yn llygru dŷn, a chybydd-dod yn ei grebachu, y mae yn fuddiol iddo fod yn hael er mwyn iechyd ei enaid ei hun. Yr hyn sy'n dyfod allan o ddŷn, ac nid yr hyn sy'n myned i mewn iddo sy'n halogi dŷn. Yr un ffunud, yr hyn sy'n dyfod allan o hono ac nid yr hyn sy'n myned i mewn iddo sydd yn ei lethu. Yr hyn y mae dŷn yn ei roddi, ac nid yr hyn y mae yn ei dderbyn sy'n lledu ei enaid. Ni a gawsom bregeth felus y dydd o'r blaen, medd rhywun, ac yr oeddwn i wrth fy modd yn ei gwrando. Yr oedd yn naturiol iti gael blas ar wrando pregeth felus; ond paid â meddwl dy fod yn dduwiol o blegid hynny. Ymofyn yn hytrach a wyt ti yn ddigon

ysprydol i gael blas ar *wneuthur* pregeth chwerw? A gefaist ti gymmaint o fwynhad wrth *gyfrannu* tuag at y genhadaeth ag a gefaist ti wrth wrando ar hwn a hwn yn gweddïo drosti? Dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn; ac os na chefaist ti fwynhad wrth agor dy law, ni chefaist ti fwynhad gwirioneddol wrth agor dy glustiau mewn odfa, neu wrth agor dy enau mewn cyfarfod gweddïo.

Fe ddywedir am y rhai sy'n gyfoethog mewn gweithred oedd da fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfrannu—yn hawdd *ganddynt*, ac nid yn hawdd *iddynt;* canys mewn màn arall fe annogir rhywrai i gymmeryd poen, gan weithio â'u dwylaw yr hyn sydd dda; a hynny, sylwer, fel y byddo ganddynt beth i'w gyfrannu i'r hwn y mae angen arno. Wrth lafurio er mwyn gallu cyfrannu; *h. y.*, wrth gyfrannu yr hyn sy'n ffrwyth llafur, y maent yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser a ddaw. Os mynnwn dderbyn yn helaeth yn y byd a ddaw, rhaid ini roddi yn helaeth yn y byd hwn. Ië, wrth gyfrannu o'r hyn sydd gennym yr ydym yn derbyn y dedwyddwch uchaf yn y byd hwn; ac wrth *ymroi* i ennill y peth lleiaf yr ydym yn colli'r peth mwyaf. "Pa leshad i ddŷn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Pa beth a dâl byd heb enaid i'w fwynhau? Wrth ymwerthu i ennill ac i gadw'r byd, yr ydych yn colli'r *gallu* i'w fwynhau; am eich bod yn colli'ch enaid—yn colli'ch hunain. Y mae enaid dŷn yn anrhaethol fwy na'r byd; ac er mwyn dal y byd yn dyn, y mae yn rhaid i'r enaid yn lle ymledu, ymgrebachu. Nid aeth y gwartheg culion a welodd Pharo yn ei freuddwyd ddim tewach ar ol bwytta'r gwartheg tewion. Y mae'r enaid a lyngco'r byd yn myned yn gulach nag oedd efe o'r blaen. Wrth roddi ac nid wrth dderbyn y mae'r enaid yn ymëangu; ac wrth

roddi y mae dŷn yn myned yn gyfoethog tuag at Dduw. Afradloni da ei arglwydd yr oedd y goruchwyliwr pan oedd efe yn trysori iddo'i hun; ond pan y troes efe i gyfrannu'r da hwnnw i eraill, fe wnaeth gyfeillion; ac wrth wneyd cyfeillion fe wnaeth ei ffortun. Yngolwg yr Arglwydd, gwastraffwr yw y dŷn sy'n cadw; y dŷn sy'n rhoi yw y dŷn cynnil. Wrth roddi i ddynion y mae efe'n echwyna i Dduw, sef yr hwn sy'n rhoi mwyaf o lôg. "Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd sy'n rhoddi echwyn i'r Arglwydd, a'i rodd a dâl efe iddo drachefn." Ac er fod yr Arglwydd yn talu'r echwyn adref ar ei ganfed, etto y mae efe yn *cyfrif* yr echwyn hwnnw yn rhodd dragwyddol iddo'i hun; canys yn nydd y farn fe ddywed y Barnwr wrth y trugarogion:—"Bûm newynog, a chwi a *roisoch* i mi fwyd; bu arnaf syched, a *rhoisoch* i mi ddïod; canys yn gymmaint a gwneuthur o honoch hynny i un o'r rhai bychain hyn, i mi y gwnaethoch."

Pa beth, yn ol dysceidiaeth Crist, a fydd yn penderfynu tynged dynion yn niwedd amser? Caredigrwydd neu angharedigrwydd tuag at y rhai sy mewn adfyd, neu yn hytrach tuag at yr Iesu hwnnw ag sydd o ran ei gorff yn dioddef o hyd ar y ddaear—yn dioddef, meddaf, canys ni all neb gyd-ymdeimlo heb gyd-ddioddef; a pho mwyaf y teimlad, mwyaf oll fydd y boen. Pa beth y mae dammeg y goruchwyliwr anghyfiawn yn ei ddyscu ini? Mai caredigrwydd yw y rhinwedd mwyaf cymmeradwy yngolwg Duw, a'i fod yn cuddio lliaws o bechodau. Pa beth y mae y ddammeg nesaf atti yn ei ddyscu? Mai angharedigrwydd yw y bai mwyaf anfaddeuadwy, a'i fod yn gwneyd yn ofer liaws o rinweddau. Nid oedd y goruchwyliwr yn ddŷn difai o lawer; er hynny fe'i canmolwyd ac fe'i gwobrwywyd o blegid ei garedigrwydd. Nid oedd y gŵr goludog yn euog o un bai y gallasai'r Methodistiaid ei

ddiscyblu o'i herwydd; ond er cymmaint ei barchedigrwydd, fe'i damniwyd o blegid ei grintachrwydd. "Gwnewch i chwi gyfeillion â'r mammon anghyfiawn." I ba beth yn bennaf y mae arian a doniau dda? I wneyd cyfeillion. Dyma drysorau sy'n werthfawrocach na golud; ïe, yn werthfawrocach na pherthynasau yn ol y cnawd. "Y mae cyfaill a lŷn wrthyt yn well na brawd," medd Solomon. Os nad oes gan y cyfoethog gyfeillion, sef cyfeillion y mae dyled arnynt i fod yn ddiolchgar iddo am ryw ddaioni neu gilydd, yna y mae efe yn ddŷn truenus iawn. "Gwnewch i chwi gyfeillion." Y mae yn dda eu cael ar y ddaear, ac fe fydd yn dda eu cael yn y nef hefyd; a chofiwn, mai y rhai a *wnaethom* yn gyfeillion ar y ddaear a *gawn* yn gyfeillion yn y nef. Y cyfeillion hyn a fydd yn gwneyd y nef yn nef hyfryd; canys yn ol natur a nifer ein cyfeillion y bydd natur ein derbyniad a maint ein croesaw. Os rhoesom dderbyniad i ddynion pan oedd eisiau arnynt ar y ddaear, hwythau, pan fo eisiau arnom ni, a'n derbyniant i'r tragwyddol bebyll. Er na thelir i bob dŷn *am* ei weithredoedd, fe delir i bob dŷn yn *ol* ei weithredoedd; canys fe fydd maint y dedwyddwch a fwynha pob un yn y nef yn cyfatteb i faint y caredigrwydd a wnaeth efe ar y ddaear. Y mae lle i gasclu yr eiff llawer un i'r nef na chaiff efe fawr o dderbyniad yno, am na bydd ganddo gyfeillion, fel y mae llawer un yn myned i'r America heb fod neb yn dyfod i'w gyfarfod i'r porthladd, neu yn ei dderbyn i'w dŷ. O'r braidd y bydd y cyfiawn yn gadwedig—y da, y caredig, a gaiff yn *helaeth* fyned i mewn i'r dragwyddol deyrnas. Os mynnwch gael *croesaw* yn y nef, neu rywbeth amgenach na modd i gadw enaid a chorff ysprydol wrth eu gilydd, gwnewch i chwi gyfeillion â'r mammon. Fe ordeiniwyd ini fyw *i'n* gilydd ar y ddaear, am y rhaid ini fyw *ar* ein gilydd yn y nef. *Friendly Society*—Cymdeithas Gyfeillgar a fydd cym-

deithas y saint yn y nef; a phe darfyddai'n cyfeillgarwch fe ddarfyddai'n dedwyddwch hefyd. Fe *fydd* yn y nef ryw bethau, a elwir mewn iaith ffugyrol, yn heol aur, yn afon bur, yn bren y bywyd, ac yn fynyddoedd tragwyddol; ond nid ar weled pethau o'r fath, er eu gwychder, y bydd byw dŷn; rhaid iddo wrth ddynion byw i gymdeithasu â hwynt. Heb gyfeillion, fe fyddai'r Baradwys nefol mor wag ag oedd y Baradwys ddaearol i Adda, cyn cael o hono Efa yn amgeledd cymmwys iddo. Pan y byddai dŷn farw o dan yr hên oruchwyliaeth, fe ddywedid am dano, "Efe a gasclwyd at ei dadau." Pan y bo Cristion farw, y mae yn gymhwysach dyweyd am dano, "Efe a gasclwyd at ei gyfeillion." Pwy ydyw ein cyfeillion, neu pwy a chwennychem eu cael yn gyfeillion yn y byd hwn? Gwybydder mai y rheini a *fydd* ein cyfeillion yn y byd tragwyddol. A ydym yn gofalu ar wneuthur i ni'n hunain gyfryw gyfeillion ag y byddai yn hyfryd gennym dreulio tragwyddoldeb yn eu cymdeithas?

O'r fath olwg dymunol a roddir yn y testyn ar gartref tragwyddol y saint! Hen gyfeillion yn rhoddi ac yn derbyn croesaw yn y tragwyddol bebyll. Mewn mannau, fe gyffelybir y nef i ddinas, er mwyn dangos ei chadernid a'i diogelwch, ond yma ac mewn mannau eraill fe'i cyffelybir i babell, neu bebyll, am fod pobl y pebyll erioed, ac ymhob gwlad, yn fwy llettygar na phobl y dinasoedd, ac am fod eu bywyd hwy yn fwy rhydd a naturiol. Y mae yn ddiammau y byddwch yn teimlo wrth ddarllen y Beibl fod hanes yr hên batriarchiaid oedd yn byw mewn pebyll yn fwy barddonol o lawer, ac yn fwy swynol ym mhob ystyr, na hanes eu hiliogaeth, ar ol eu myned yn amaethwyr a threfedigion. Y mae yn wir fod pebyll yn fwy anniogel na thai, am eu bod yn fwy agored i yspeilwyr a dryccinoedd; ond i bebyll cedyrn y cyffelybir

y trigfannau nefol—i bebyll nas tynnir i lawr, ac na syflir un o'u hoelion, ac na thorrir un o'u rhaffau; ac am hynny y gelwir hwynt yn dragwyddol bebyll. Y maent yn anneddau cadarn er eu bod yn yscafn—pebyll tragwyddol ydynt. Pe buaswn i yn baentiwr, mi adawswn i eraill ddarlunio prydferthion y nefol *ddinas*, sef y sylfaeni saphir, y mur o faen jaspis a'r pyrth o berl. Darlun o olygfa fwy gwledig a wnaethwn i, sef hon—cyfeillion tragwyddol yn y tragwyddol bebyll—*eternal friends in the eternal tents.* Pebyll—pa fath drigfannau ydi'r rheini? Trigfannau lle y mae yr ymwelwr yn fwy o ddŷn na'r perchennog, a lle mae i'r gwahoddedigion fwy o awdurdod na'r gwahoddwr. Os wyt dda a daionus, fel dy Dduw, ni raid iti ddim crynu nac yswilio wrth nesàu i'r wlad well. Preswylwyr pebyll yw ei phobl; ac y mae hynny yr un peth a dyweyd eu bod yn bobl groesawgar dros ben. Cyn pen pum munud, ti a deimli dy hun gartref; am y byddi ynghanol cyfeillion, y bydd cystal ganddynt dy weled di ag a fydd gennyt tithau eu gweled hwy. Y maent yr awr hon yn nrws eu pabell, yn llygadu am y llong sydd i ddwyn dy enaid i'r porthladd. Y mae y byrddau eisys wedi eu hulio, a'r gynghanedd a'r ddawns wedi eu rhagdrefnu. O! ni wyddost ti ddim beth a fydd croeso patriarchaidd hyd oni'th dderbynier i'r tragwyddol bebyll.

Ar ol sôn am y rhai a wnaethoch chwi yn gyfeillion â'r mammon anghyfiawn, a ddylwn i dewi heb grybwyll am y gŵr a'ch gwnaeth chwithau yn gyfeillion â'i werthfawr waed? "Dyma'r cyfaill haedda'i garu a'i glodfori'n fwy nag un;" canys fe fu hwn yn fwy trugarog wrthym nag y bu neb arall. Nid peri ini scrifennu deg a deugain yn lle cant—nid maddau *hanner* y ddyled a wnaeth efe, eithr maddau'r cwbl. "Efe a faddeuodd yr *holl* gamweddau, gan ddileu ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n

herbyn ni, yr hon oedd yngwrthwyneb ini, ac a'i cymmerodd hi oddi ar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes." Y mae efe nid yn unig wedi scrifennu "Talwyd" wrth droed y bil, ond y mae efe wedi dyfetha'r papur, trwy ei goluro i gyd drosto â'i waed ei hun, a'i dyllu drwyddo draw â hoelion ei groes, fel na all na deddf na diafol mwyach wneyd defnydd o honno yn ein herbyn. A sylwer, mai y gŵr a wnaeth ini y gymmwynas hon a fydd y cyfaill parottaf i'n derbyn i'r tragwyddol bebyll. Er mai nyni sy'n ddyledus iddo ef, etto efe sy'n cyfrif ei hun yn ddyledus i ni, sef i bawb o honom ag sy'n garedig wrth ei ddiscyblion; ac am hynny y dywed efe yn y dydd diweddaf:—" Deuwch chwi, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barottowyd i chwi er seiliad y byd... canys bûm ddieithr, a dygasoch fi gyd â chwi; noeth, a dilladasoch fi; bûm glaf, ac ymwelsoch â mi; bûm yngharchar, a daethoch attaf." A: gofyn i chwi ddibrisio mammon yr ydwyt? Nagê ddim; yn hytrach, gofyn i chwi roddi *mwy* o bris arno, trwy ei iawn arfer; canys er mai meistr gwael yw mammon, y mae efe yn was gwych. Gwnewch i chwi gyfeillion âg ef; gwnewch i chwi gyfaill âg ef o Grist ei hun, fel pan fethoch, y'ch derbynier i'r tragwyddol bebyll.

*Ebrill 5ed, 1895.*

## XIII.

## Y FFYRLING A'R DEML.

" *Y pethau hyn yr ydych yn edrych arnynt, daw y dyddiau yn y rhai ni adewir maen ar faen, a'r nis dattodir."*— LUC xxi. 6.

YN yr adnodau a ddarllenwyd, yr ydys yn gweled dau ddarlun cyferbyniol, sef yr Arglwydd Iesu yn edrych ar weithred gweddw dlawd, a'r discyblion yn edrych ar y deml a wnaethai Herod Fawr. Yr oedd y deml hon yn harddach o lawer na theml Sorrobabel, ac yn harddach ond odid na theml Solomon hefyd. Y mae yn hawdd credu ei bod yn wych odiaeth, canys buwyd wyth mlynedd yn ei hadeiladu, er fod rhifedi'r gweithwyr, meddir, yn ddeng mil. Er fod mwy o'r bardd ac o'r arluniwr yn yr Iesu nag oedd yn ei ddiscyblion, etto nid oedd gogoniant y drydedd deml yn myned â dim o'i fryd ef. Yr oedd yn well ganddo ef edrych ar weithrediadau càlon dynion wrth roddi eu helusenau nag edrych ar ffrwyth eu dychymmyg a gwaith eu dwylaw. Yr oedd y discyblion wedi ei adael ef yn eistedd gyferbyn â'r drysorfa, ac wedi myned rhagddynt i edrych ar ryfeddodau yr adeilad; canys fe ddywed Marc iddo alw ei ddiscyblion atto, er mwyn dangos iddynt y weddw dlawd a ragorasai ar bawb mewn haelioni. Y mae yn debygol iddo ef aros am ennyd i fyfyrio ar y rhyfeddod foesol hon, ac i'r discyblion ei adael eilwaith er mwyn porthi eu llygaid â rhyfedd-

---

(Traddodwyd y bregeth hon gyntaf ar agoriad y Tabernacl, Rhuthyn, Ebrill 23ain, 1891).

odau mwy matterol. Pan ddaeth yr Iesu i lawr ar hyd y grisiau i'r rhodfa lydan lle yr oeddynt hwy yn sefyll, fe ddywedodd un o honynt, gan hanner synnu a hanner digio wrth ei ddifatterwch, "Athro, pa ryw feini a pha fath adeiladau sydd yma?" Yntau a attebodd mewn cyffelyb dôn, "Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych? Daw y dyddiau yn y rhai ni adewir maen ar faen a'r nis dattodir."

Dïau eich bod yn clywed sŵn cerydd tyner yn y geiriau. Yn awr, pa beth oedd bai y discyblion? Ai edmygu prydferthwch mewn celfyddyd? Nagê, eithr prydferthwch matterol a darfodedig yn fwy na phrydferthwch moesol a thragwyddol. Yr oedd yr Iesu newydd gyfeirio'u sylw at engraifft o'r haelioni mwyaf dirodres, o'r cariad puraf, ac o'r ymwadiad llwyraf; ac yn lle sefyll i edrych ar y weledigaeth fawr hon, wele hwy, fel plant yscoewan, yn annog eu hathro i edrych ar feini. Onid oedd achos i un a llygaid ganddo i weled prydferthion uwch ddywedyd yn sỳn, "Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych?"

Lle bynnag y byddo'n bryd, y mae yno ddau beth, sef ffurf a sylwedd, y gorchudd a'r cynnwys, y damweiniol a'r angenrheidiol, yr arwydd a'r peth a arwyddocceir. Yn awr, a ydyw edrych ar yr arwydd neu'r ffurf yn beth beius? Nac ydyw, os bydd yr arwydd yn foddion i dreiddio hyd at y peth a arwyddocceir. Ydyw, os bydd yr arwydd yn ein swyno, ac megis llen, yn ein rhwystro i ganfod ac i gyrraedd y sylwedd. Y sylwedd yw'r peth mawr; nid yw'r ffurf ddim amgen na moddion; ac os ymsefydla'n golwg ar y moddion, heb dreiddio ym mhellach, fe dry'r moddion eu hunain yn rhwystr ini; ac yna, fe geiff Crist achos i edliw i ninnau yngeiriau'r testyn, "Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych?"

Yn ol awdwr y llythyr at yr Hebreaid, yr oedd y deml a phob peth oedd yn perthyn iddi, yn arwyddoccaol. Fe arfaethwyd ei defnyddiau, ei chelfi, ei hoffeiriaid a'i gwasanaeth yn gyscodau o bethau nefol ac ysprydol; ond yr oedd yr Iddewon er ys talm bellach wedi anghofio ystyr y pethau hyn, ac wedi myned i ymlynnu wrth y cyscodau er eu mwyn eu hunain. Gan rai dieithr i'r ysprydol y cynlluniwyd ac yr adeiliwyd y deml hon. Pa ewyllys a allai fod gan Grist i edrych ar golofnau a godwyd i foddhau balchder cenedl, a balchder teyrn cenedl? Pa werth a allai efe weled mewn rhoddion dynion oedd yn rhy wrthnysig i roddi eu hunain i'r Arglwydd?

"Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych?" Am ba reswm y dywedodd yr Iesu hyn wrth ei ddiscyblion? Am y rheswm hwn, sef y "daw'r dyddiau yn y rhai ni adewir maen ar faen a'r nis dattodir." Pethau darfodedig yw y rhain. Deugain mlynedd a fydd etto, ac fe gwymp y deml hon yn ddisymmwth gan rym ergydion offer rhyfel, a chan wres tân; a hyd yn oed pe na ddigwyddai'r cyfryw drychineb, gan falurio hi a falurir yn raddol gan ddylanwadau dinistriol amser. Y mae pob ffurfiau yn myned heibio, pa un bynnag ai temlau ai cofadeiliau ai cyfundraethau ai trefniadau. Ffurf yn unig ar yspryd yw corff dŷn, am hynny fe dderfydd yntau. Ffurf ar feddwl y Duw mawr yw natur ei hun, am hynny fe ddiflanna hithau. Sylweddau noethion, megis gwirionedd, santeiddrwydd, yr enaid, Duw; y rheini sydd yn aros yn dragywydd. Y mae'r ffurfiau yn myned heibio, ond y mae'r yspryd yn parhau, gan ddadguddio'i hun mewn ffurfiau newyddion yn ddiddiwedd.

Nid yw yn wiw edrych yn ddyfal ar ddim ond sydd â nôd tragwyddol arno. Os mynnwn fod yn ddoeth,

edrychwn ar bethau y tâl edrych arnynt byth bythoedd. Y pethau ni welir sy dragwyddol, ac o bethau anweledig y gwnaed y pethau a welir. Pethau anweledig a thragwyddol sydd yn bod yn wirioneddol; a bron na ellir dyweyd mai mewn enw ac ymddangosiad y mae pethau gweledig a thymmorol yn bod. Pe bâi'r pethau a welir yn sylweddau gwir, ni allai Duw mo'u diddymmu. Y mae matter ei hun, fel haearn, yn casclu y rhwd a'i llygra; y mae matter ei hun, fel dilledyn, yn magu'r pryf a'i hysa. Ond yr oedd yr yspryd sy mewn dŷn yn bod yn Nuw cyn creu matter, ac felly yn bod ar wahân i fatter. Duw ydyw pryffwnt—aelwyd pob pelydr ysprydol sydd yn goleuo pob dŷn a'r sydd yn dyfod i'r byd. Y mae yr yspryd sydd ynot yn deilwng i fod yn anfarwol, o blegid o Dduw y daeth; y mae yn debyg i Dduw, ac yn gymmwys o ran sylwedd i ymuno â Duw. Fe grewyd matter i fod yn offeryn i'r yspryd, yn ffurf ar ei fywyd ac yn wrthrych i'w weithgarwch; felly y mae ei werth ef yn ei ddiben ac nid yn ei ddefnydd. Yr yspryd sydd o'i blegid ei hun yn haeddu'n sylw pennaf; a chan fod yr yspryd a phob peth ysprydol, yn anweledig, y mae yn iawn dywedyd mai ar bethau anweledig y dylem edrych, ac na ddylem edrych ar bethau gweledig ond yn unig fel yr ydys yn edrych ar wydr diliw, sef er mwyn gweled trwyddo.

Am y rheswm hwn, yr oedd ffyrling y weddw dlawd yn haeddu mwy o sylw na meini ac addurniadau'r deml. Ond nid y ffyrling ei hun chwaith ydoedd yn haeddu sylw, eithr y teimlad a gymmellodd y wraig i'w rhoddi. Yr oedd y teimlad cariadus ac aberthol hwnnw yn rhywbeth mwy na'r deml, gyd a'i grisiau, ei rhagfuriau a'i choedwig o golofnau. Nid oedd y meddwl a gynnhyrfodd y Brenin Herod i godi teml wych â'r hyn oedd yn weddill ganddo yn haeddu ei gyffelybu i'r meddwl a gynnhyrfodd y wraig

weddw i fwrw'r cwbl oedd ganddi o'i phrinder i'r drysorfa. O na chaem lygaid Crist, i weled pwy sydd hael a phwy sydd ddim, i weled pa beth sy fawr a pha beth sy fach! Fe anfarwolodd efe y weddw dlawd, ond ni soniodd efe air am y teyrn a ddarfu anrhegu yr Iddewon â theml. Nid oedd yn wiw ganddo sefyll i syllu ar degwch yr anrheg ei hun. Yr oedd ffyrling y weddw dlawd mor agos at ei lygaid, fel yr oedd hi yn cuddio yr holl deml o'i olwg. Yr oedd gloewder y ffyrling honno yn pylu discleirdeb y dorau pres, yr addurniadau euraidd, a'r meini marmor. Nid am ei fod yn ddichwaeth yr oedd yr Iesu yn methu ag edmygu ar hynny o bryd yr hyn yr oedd ei ddiscyblion yn ei edmygu, eithr am ei fod yn rhy chwaethus; canys y mae chwaeth dda yn dyscu dŷn i beidio âg edrych hyd yn oed ar bethau teg, pan ymddangoso rhywbeth teccach. Plentynaidd eu chwaeth oedd y discyblion y pryd hwn; a phlentynaidd ein chwaeth ydym ninnau, os ydyw yn well gennym degwch matterol na thegwch moesol. Nid ŷm chwaith yn athronyddion Cristionogol; yn hytrach masnachwyr o Gristionogion ydym, os ydym yn cyfrif pob dwy hatling yn ffyrling, a phob ugain swllt yn bunt. Nid allwn brisio rhodd yn gywir wrthi ac arni ei hun. *Pwy* a wnaeth y deml? Pa beth a'i cymmellodd i'w gwneyd? Pa fodd y cafodd efe arian i'w gwneyd? Ai trwy orthrymmu'r tlawd, trwy gribddeilio, trwy ocraeth, trwy dwyll, trwy chwarau damwain, ai ynte yn gyfiawn? Yr oedd Crist yn barnu gwerth a hyd yn oed tegwch y deml wrth yr attebion a roddid i'r gofyniadau hyn.

Tuedd llaweroedd yn y dyddiau hyn yw sefydlu eu golwg yn neillduol ar bethau allanol, amlwg a theimladwy. Fe ganfu pawb a ddaeth i'r ŵyl orchestwaith Herod, sef y deml, ond yr Iesu yn unig a ganfu orchestwaith y wraig

weddw. Yr oedd rhodd y brenin yn fwy arni ei hun na rhodd y weddw; ond yr oedd yn fwy o beth iddi hi roddi ffyrling nag oedd iddo ef roddi teml. Fe wnaeth hi o honi ei hun yr hyn y methodd y gŵr ieuangc cyfoethog â'i wneyd wrth orchymmyn yr Iesu. Fe roes hi ei holl fywyd—ei holl fywoliaeth i wasanaeth Duw, a hynny yn ddirgel ac o gariad; a pha beth mwy a allasai hi ei wneyd? Nid ychydig gan dlodion a llawer gan gyfoethogion y mae yr Iesu yn ei ofyn, eithr y cwbl gan dlodion a chyfoethogion. Rhaid ini fwrw, neu o leiaf fod yn barod i fwrw, y cwbl sydd eiddom, a'r cwbl sydd ynom, wrth draed yr Iesu, a hynny o gariad arno. Pa beth yw'r gwahaniaeth rhwng y goludog a'r tlawd, a rhwng y dawnus a'r di-ddawn? Hyn yn unig, sef fod ar y goludog a'r dawnus fwy o ddyled i Grist na'r rhai sydd heb fod felly. "I bwy bynnag y rhoddwyd llawer, llawer a ofynnir ganddo." Er hynny, cofier fod y llawer a ofynnir yn gymmaint a'r llawer a roddwyd, ac felly fod y llawer yn cynnwys y cwbl.

Y mae yr hyn a ddywed yr Iesu am rodd y weddw dlawd a rhodd y Brenin Herod yn awgrymmu mai yn ol natur gweithrediadau'n henaid, ac nid yn ol maint a nifer ein gweithredoedd allanol, y mae efe yn ein barnu. Ein gweithrediadau tufewnol ydyw ein gweithredoedd gwirioneddol, a hwynt-hwy sydd yn dangos gywiraf pa fath rai ydym. Nid yw'n gweithredoedd allanol ond tystiolaethau, arwyddion; ac arwyddion digon ammherffaith hefyd, o'r hyn ydym ger bron Duw. Nid yw dynion, gan mwyaf, yn ystyried eu bod yn gweithredu o gwbl oddi gerth pan fyddo'u hewyllys yn gwneyd defnydd o alluoedd y corff i beri rhyw gyfnewidiad y tu allan iddynt eu hunain. Meddyliau, syniadau, dymuniadau, y galwant hwy bob rhyw bethau a wnelo'r enaid heb gydweithrediad y gallu-

oedd corfforol, a phan na byddo dim cyfnewidiad o'r tu allan yn canlyn. Os byddant wedi llwyr amcanu gwneyd rhywbeth, a dyfod rhyw rwystrau oddi allan i'w hattal rhag dwyn eu hamcan i ben, hwy a dybiant na ddarfu iddynt weithredu. Dyma gyfeiliornad sydd yn dymchwelyd moesoldeb, ac yn dilèu pob cyfrifoldeb. Caniattaer imi ddyweyd eilwaith mai gweithrediadau'n hewyllys yw'n gwir weithredoedd, ac nad yw gweithredoedd allanol yn ddim amgen nag arwyddion. Yn ol yr hyn yr ewyllysiasom ei wneyd y'n bernir, ac nid yn ol yr hyn y medrasom neu y methasom ei wneyd—yn ol yr hyn a wnaethom *yn* y corff, ac nid yn ol yr hyn a wnaethom hefo'r corff. Barnu càlon dŷn yn ol ei weithredoedd yr ydym ni; ond barnu gweithredoedd dŷn yn ol ei gàlon y mae Duw.

Wrth ddywedyd mai gweithrediadau yspryd dŷn ydyw ei wir weithredoedd, ni fynnwn ddirymmu gweithredoedd allanol, megis gwaith ei ddwylaw a chynnyrchion ei feddwl; canys y mae y rhai hyn yn gweithredu yn ol ar yr yspryd ei hun. Er hynny, nid hwynt-hwy sydd yn ein gwneyd yr hyn ydym—tystiolaethu y maent am danom, i ni'n hunain ac i eraill; arwyddion, ffurfiau ydynt; ac am hynny, gan ddiflannu, hwy a ddiflannant yn fuan neu yn hwyr. Er mai'r corff hwn yw'r gwrthrych pennaf yr ŵyf yn gweithredu arno, a'r offeryn pennaf yr ŵyf yn gweithredu trwyddo, etto nid myfi ydyw fy nghorff—ffurf arnaf fi ydyw; ac fel pob ffurf, fe newidia ac fe drenga yn y man. Pob peth a welom yn trengu ac yn adfeilio, rhith ydyw hwnnw—arwydd ydyw ar y gorau o rywbeth sylweddol a thragwyddol. Yr oedd yn rhaid i'r deml fawr a theg y syllai y discyblion arni adfeilio rywbryd. Nid oedd y dial a ragfynegodd yr Iesu ond prysuro y trychineb anocheladwy.

A pha obaith oedd i'r deml hon o waith dwylo dynion sefyll byth, a Duw yn dywedyd y distrywir y deml a wnaeth ef ei hun? Pa beth yw'r byd ond teml, ac i ba beth y crewyd ef, os nad i fod yn deml? I addoli Duw ynddi, ac nid i edrych arni y crewyd y deml hon; er hynny y mae yn werth edrych arni, ac yn fuddiol edrych arni, os peidiwn wrth hynny â cholli golwg ar y meddwl dwyfol a'i gwnaeth. Edrychwn, fel Dafydd, ar y nefoedd, ond ystyriwn mai gwaith bysedd Duw ydynt; ar y lloer a'r sêr, ond nac anghofiwn pwy a'u hordeiniodd. Bydd yn hyfryd gan Dduw ein gweled yn edrych ar y mynyddoedd, os cofiwn pwy a'u sylfaenodd; ac ar y môr, os cydnabyddwn pwy a roes ddeddf iddo. Y mae efe yn ewyllysio ini fynnu siarad â'r greadigaeth, fel y gwypom pa eiriau oedd ynghydgan y sêr yn y bore cyntaf, ac fel y gwypom pa liw fydd ar wyneb yr haul yn y bore diweddaf. Fe fynnai efe ini astudio'r greadigaeth fel Cristionogion ac nid fel gwyddoniaid yn unig. Gall y gwyddon ganfod deddfau ynddi, ond y mae'r Cristion yn canfod Duw ynddi. Y mae efe yn gweled rhannau o ffyrdd ac o natur yr anfeidrol ym mhob golygfa. Fe fydd Duw yn ymrithio o'i flaen yn y fellten, ac yn ymwthio i'w olwg ym mhob llygedyn haul; yn taranu â'i lais yn rhyfedd, ac yn sibrwd ym mhob tòn ar fôr; yn tynnu ei anadl ym mhob chwâ o wynt, ac yn ei ollwng allan ym mherarogl pob blodeuyn. Ac y mae Duw yn ymddangos iddo yn y pethau hyn am ei fod ef yn chwilio am dano ynddynt. Gyfeillion, a ydym wrth edrych ar ryfeddodau teml y greadigaeth yn cyfarfod ynddi â Chreawdr a Gwaredwr y gallwn ei addoli a'i garu a gobeithio ynddo? A fydd ei meini tra mawr a'i chywreinion tra bach yn crybwyll wrthym am bethau nis dattodir? Arwyddlun ydyw'r deml hon; ac os saif ein golwg ar yr arwydd darfodedig, heb gerdded rhagddo at y sylwedd diddarfod; os nad

edrychwn yn ddigon ysprydol ar bethau gweledig i weled trwyddynt bethau anweledig, yna fe fydd cerydd Crist yn gyfaddas i ninnau:—"Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych; daw y dyddiau yn y rhai ni adewir maen ar faen a'r nis dattodir."

Y mae yn ddïau ein bod ni gan mwyaf yn ddigon gwareiddiedig i roi mwy o fri ar y meddyliol nag ar y matterol, ond pa nifer o honom sydd yn ddigon crefyddol i roi mwy o fri ar y moesol nag ar y meddyliol? Mewn geiriau eraill, fe ddyry y rhai mwyaf synnwyrol o honom fwy o fri ar ddealltwriaeth nag ar gyfoeth, ond pa sawl un o honom sydd yn rhoi mwy o fri ar ddaioni nag ar ddealltwriaeth? Yn wir, bron nad oes achos gofyn mewn ambell gynnulleidfa pa nifer o honi sydd yn gosod mwy o fri ar ddaioni moesol nag ar dda'r byd hwn; canys y mae etto lawer ardal yNghymru lle ceiff dŷn cyfoethog heb fod yn dda fwy o barch na dŷn da heb fod yn gyfoethog. Os ydyw yn fwy gennym ddoniau ffawd na doniau natur, ac yn fwy gennym ddoniau natur na doniau gras, y rhai sy'n ddi-alw yn ol; os ydym yn gofalu mwy am y corff nag am yr enaid, ac yn gofalu mwy am yr enaid nag am yr yspryd, yr hwn sydd anfarwol, yna yr ydym yn agored i gerydd Crist:—"Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych; daw y dyddiau yn y rhai ni adewir maen ar faen a'r nis dattodir." Yn y man, fe ddattodir meini meddwl dŷn, ac fe ddryllir addurniadau ei awen. Y mae cân Homer wedi byw yn hwy na'i gorff, ac oesoedd yn hwy hyd yn oed na'r ddinas gadarn y canodd efe am dani; ond fe ddiflanna'r gân ei hun rywbryd. Y da yn unig yw'r peth ni finia'r tân arno; ufudd-dod oddi ar gariad yw'r peth ni thawdd y gwres mono. "Ofna Dduw (medd y Pregethwr) a chadw'i orchmynion, canys hyn yw holl ddyled dŷn;" neu, os gadewir allan y geiriau Italig, "hyn

yw'r holl ddŷn." Ufudd-dod i orchmynion Duw a'th wna yn ddŷn, ac a'th geidw yn ddŷn byth bythoedd. Y mae hynny o ddŷn sydd ynot yn cyfatteb i hynny o ufudd-dod sydd ynot. Ti elli fod yn ddeallus; ond os nad wyt yn ufuddhau i Dduw o gariad arno, nid wyt yn hanner dŷn—nid wyt yn ddŷn o gwbl. Pa fodd y gelli fod yn ddŷn, a thithau wedi gadael i'th yspryd, y rhan uchaf a gorau o honot dy hun, glafychu a marw o eisiau amgeledd? Gwir yw y gall dy enaid fod fel teml wych âg iddi feini teg a rhoddion gwerthfawr; ond gan nad yw y rhain yn bethau yr yspryd, pethau a ddattodir ydynt oddi wrth eu gilydd, ac oddi wrthyt tithau. Ond od oes ynot ti y peth oedd yn y weddw dlawd, ni ddattodir hwnnw byth oddi wrthyt. Y mae hwnnw wedi myned yn rhan o'th yspryd, ac am hynny y mae yn dragwyddol fel yr yspryd ei hun. A golygu pethau oddi ar dir tragwyddoldeb, y mae llysieuyn y maes yn gystadl mewn mawredd a pharhad, â'r cofadeiliau mwyaf, ac â chynnyrchion pennaf y meddwl; canys yn yr ymollyngiad cyffredinol fe drenga pobpeth na byddo mewn undeb â Duw—pobpeth, meddaf, hyd yn oed eich meddyliau. Hên gestyll cedyrn Cymru, a'r cestyll simsan a adeiladwyd yn yr awyr, yr un diwedd a fydd iddynt. Y golygfeydd o ben y Wyddfa, a gweledigaethau'r Bardd Cwsc, cyd-ddarfyddant oll. Ufudd-dod, ufudd-dod cariad, hynny a bery yn dragywydd.

Fe ddylai fod yn dda gennym ddyfod Crist Iesu i'r byd, yn unig o blegid iddo ddarostwng y gweledig, a dyrchafu yr anweledig, bob un i'w le ei hun. Fe ymddangosodd efe yn y cnawd fel y byddai ar dir gwell i ddyscu dynion mai "yspryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn yspryd a gwirionedd." Sefydlu teyrnas ysprydol, a dwyn buddugoliaeth i'r ysprydol, oedd

diben ei fywyd a'i farwolaeth. Ond y mae crefydd wedi cymmeryd ffurf yn y byd—wedi myned yn beth gweledig. Wrth ymledu dros y byd, a pharhau ynddo am gyhyd o amser, y mae hi wedi ennill sylw a pharch y byd ei hun. Ac heb law ei lled o ran lle, a'i hyd o ran amser, y mae'r meddyliau mawr a genedlodd hi, a'r temlau gwych a gododd hi, yn peri i'r rhai mwyaf difatter edrych arni, a'i mawrygu hefyd. Y mae iddi bellach y gogoniant y gall y byd ei edmygu. Gochelwn ni rhag ei hedmygu yn unig, nac yn bennaf, o blegid y gogoniant hwnnw. Na chollwn olwg ar ei gwir ogoniant—ar ei mawr ragorol ogoniant, rhag rhoi achos i Grist ddywedyd wrthym, "Ai ar y pethau hyn yr ydych yn edrych?" Ys truan o ddynion ydym, os na welsom ddim ond y gweledig ym mrenhiniaeth yr anweledig, ac os na chawsom hyd i ddim ond y byd yn nheyrnas yr yspryd. "Nac ymddiriedwch," medd Duw, mewn geiriau celwyddog, gan ddywedyd, "Teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd. Gwellewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd." Y mae'r addoldai, meddwch, yn wych y tu hwnt i bob adeiladau eraill, ac yn lled lawn o bobl ddeallus. A ydyw'r bobl yn gwellàu eu ffyrdd a'u gweithredoedd, yn gwneuthur barn rhwng gŵr a'i gymmydog, yn peidio â gorthrymmu'r dieithr, yr amddifad a'r weddw? Y pryd hwnnw y bydd crefydd bur yn llwyddo, sef pan y bydd cariad Crist yn cymmell dynion i fyned yn well, well, hyd y diwedd.

Y mae edrych yn unig ar ogoniant matterol a deallol Cristionogaeth yr un peth ag edrych ar feini di-fywyd. Cyfundraethau, traddodiadau a threfniadau, meini oerion ydynt i gyd. Y *mae* meini eraill a theccach, sef meini bywiol, wedi eu hadeiladu yn dŷ ysprydol, yn offeiriadaeth santaidd. Un o'r meini hyn yn ddïau oedd y weddw

dlawd. Rhai o honynt hwy yw pawb sydd wedi rhoi eu hunain i'r Arglwydd—ïe, y rhai oedd yn rhy dlawd i roi dim iddo heb law eu hunain. Edrychwch ar y meini teg a'r rhoddion hyn, gyfeillion, neu yn hytrach ar y rhinweddau sydd yn eu haddurno. Syllwch ar yr elusen hon, y maddeugarwch hwn, y gostyngeiddrwydd yma, yr ymwadiad yna, yr amynedd accw. Onid ydynt yn deg? Os nad ydych yn gweled digon o degwch ynddynt hwy, edrychwch ar yr un a'r unrhyw rinweddau yn discleirio yn y maen pennaf, etholedig gan Dduw. Maen, yn wir! Onid yw Crist ei hun yn deml fawr, yn yr hon y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio? Rhyfedd fod y discyblion yn dotio cymmaint ar deml Herod, pan oedd teml fwy a godidoccach yn sefyll ger eu bron. Os edrychwn arni â llygaid naturiol, y mae yn ddïau na welwn na phryd na thegwch iddi, ond os caewn lygaid ein corff, ac agor llygaid ein hyspryd, fe'n swynir gan faint y gogoniant. Yn wir, gyfeillion, ni thalwn ni ddim i'r nefoedd, ac ni thal y nefoedd ddim i ninnau, os nad ym yn teimlo mai difyr yn anad dim a fydd edrych yn dragwyddol ar ryfeddodau'r deml hon. "Tragwyddol syllu ar y person, gym'rodd arno natur dŷn" yw digrifwch yr eglwys fry, a gobaith yr eglwys obry.

Pan weloch ef megis ag y mae, wn i ddim pa bryd y cewch hamdden i ystyried pa un ai yn y corff ai allan o'r corff; ai yn y nef ai allan o'r nef, y byddwch. Chwi anghofiwch y nef; ïe, chwi anghofiwch eich hunain, wrth edrych ar eich Prynwr. Y Brenin ac nid y palas, yr Oen ac nid yr allor, yr Archoffeiriad ac nid y deml, a dŷn eich sylw yn y byd ysprydol. Fe dystiolaethodd Ioan unwaith am y nef, "A theml ni welais ynddi." Nid yw yn dyweyd nad ydoedd yno deml—dyweyd y mae na *welodd* efe yr un deml. Ac na chyhudded neb mono o wrth-

ddywedyd ei hun mewn man arall; canys os na welodd efe deml yn y *nef*, fe welodd deml yn yr Iesu; os na welodd efe deml yn cynnwys Oen, fe welodd Oen yn cynnwys y deml; "canys," eb efe, "yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r *Oen* yw ei theml hi." Beth a dybygwch chwi am deml a'r Duwdod yn ddefnydd iddi, a'r priodoliaethau dwyfol yn harddwch iddi? Tybyged rhai y peth a fynnont, y mae yn ddiammau na ddymuna y rhai mwyaf ysprydol byth well na hyn, sef edrych ar Iesu yn yr Iesu ei hun, addoli Duw o fewn Duw ei hun. Chwi esponwyr yr Yscol Sul, fe fyddai yn werth ichwi ymdrechu am fyned i mewn i deyrnas nefoedd, yn unig er mwyn cael gwybod yn well beth yw byw a bod yNghrist.

Teml a escynnodd o'r ddaear i'r nef ydyw'r deml yr ŵyf yn awr yn sôn am dani; a hynny sy'n rhoi sail ini weddïo ar iddi ddiscyn o'r nef i'r ddaear. Gan fod meini daear yn ei muriau, a dryccinoedd daear wedi curo arni, y mae hi yn deml a hanes iddi. Er fod yn hoff gennyf fi weled y byd, etto ni bu arnaf erioed fawr o awydd am fyned i'r America. Y mae yn well gennyf y Dwyrain na'r Gorllewin; yr hên fyd na'r byd newydd, am fod iddo ef hên, hên hanes. Fe ddywed rhai mai hên Gastell Heidelberg yw'r murddyn o gastell harddaf yn yr hên fyd; ac fe ddigwyddodd i mi ar ryw wylnos neu gilydd weled y castell hwnnw wedi ei ddaroleuo. Yr oeddwn i yn meddwl ynghorff y dydd y buasai ei ffenestri drylliedig a'i dyrau tyllog yn ymddangos yn hagr yn llewyrch mil o oleuadau; ond yn lle hynny yr oedd ei hacrwch yn troi yn harddwch. Yr oedd yn fwy dyddorol edrych ar ei fannau drylliedig nag ar ei fannau cyfain, o blegid yr oedd pob agen a bwlch oedd ynddo yn bwrw oddi rhwng eu gwefusau oerion ryw hên chwedl am yr ymosod a fu arno o dan Turenne a Tilly, a maeslywyddion eraill, a fu wŷr

enwog gynt. Er fod teml corff yr Iesu wedi ei goleuo bellach â gogoniant newydd, ac â'r hên ogoniant oedd iddo ef cyn bod y byd, etto y mae yn dda gennyf fi feddwl nad yw'r gogoniant hwnnw ddim yn cuddio ôl y curo a fu arni yn y frwydr fawr. Edrychwch ar y mân dyllau sydd yn ei thalcen; ar yr agen ddofn sydd yn ei hystlys; ar y lliw gwaed sydd ar draed ei cholofnau. Fe ellir darllen ei hanes yn ei gwedd; ac y mae olion y gwaradwyddiadau, yn lle bod yn feflau arni, y llygadau discleiriaf yn y gogoniant. Teml megis wedi ei dryllio yn y nef! Ffigur, meddwch, ydyw hynny. Ië, ond ffigur ag ynddo yr un gwirionedd ag sydd yn yr ymadrodd hwn:—"Wele ynghanol yr orseddfaingc yr oedd Oen yn sefyll, megis wedi ei ladd."

Teml y gall ein hanwiredd ei gyrru ym mhell, a'n gweddi ei thynnu yn agos ydyw'r deml hon. Beth oedd yn bod pan oedd Duw yn ymweled â'i bobl? Pabell Duw oedd wedi discyn hyd at y ddaear. Mab Duw oedd yn tabernaclu gyd â dynion. Pa bryd y teimlid nerthoedd y byd a ddaw? Pan y byddai'r byd hwnnw yn ymgyffwrdd â'r byd hwn. Ym mha le y mae'r nef? Y mae hi ym mhob man lle y mynnoch iddi fod. Nid yw hi yn ddïau neppell oddi wrth bob un o honom. Esgynnwn i'r mynydd i weddïo, a chwmmwl golau a'n cyscoda. Un o'r cymmylau gwynion sydd yn hofian yn awyrgylch y byd ysprydol a fydd hwnnw. Fe'n gweddnewidir yngoleuni'r byd hwnnw; ac fel y discyblion gynt, ni welwn ond yr Iesu yn unig.

## XIV

## PAHAM NA CHREDWCH?

"*Pwy o honoch a'm hargyhoedda i o bechod? Ac od wyf fi yn dywedyd y gwir, paham nad ydych yn credu i mi?*"—Ioan viii. 46.

Y mae y testyn yn cynnwys ymresymiad ag iddo gynsail neu osodiad, a dau gascliad, y naill gascliad yn seiliedig ar y llall, a'r ddau yn seiliedig ar y gosodiad cyntaf. Fe fuasai'r ymresymiad hwn yn fwy ffurfiol, ac felly yn fwy amlwg i ni, sy'n arfer rhesymu wrth reolau pendant, pe buasai'r Iesu yn llefaru fel hyn:—"Yr ŵyf fi yn ddi-bechod; os ŵyf yn ddi-bechod, yr ŵyf yn dywedyd y gwir; os ŵyf yn dywedyd y gwir, y mae dyled arnoch i gredu i mi." Er mwyn i bawb allu deall a chofio yr ymresymiad, mi a'i mynegaf unwaith etto mewn geiriau anhebycach i eiriau'r Iesu:—"Yr ŵyf fi yn ddi-bechod; os ŵyf yn ddi-bechod, yna yr ŵyf yn ddi-gelwyddog; os ŵyf yn ddi-gelwyddog, y mae fy ngair yn haeddu pob derbyniad." Rhaid i bawb sy'n cyttuno â'r gosodiad sylfaenol gydnabod rhesymoldeb y cascliad blaenaf, a rhaid i bawb sy'n cyttuno â'r cascliad blaenaf gydnabod rhesymoldeb y cascliad olaf. Ond a ydyw'r gosodiad ei hun yn wir? canys os nad ydyw, nid oes dim grym yn y cascliadau. Os gellir dymchwelyd neu hyd yn oed siglo'r sylfaen, fe syrth yr oruwch-adeilad i'r llawr. Nid yw ddim yn wiw gwneyd y pulpud yn gyfrwng i gyhoeddi heresïau ac amheuon newydd a dieithr, eithr y mae yn eithaf hyspys i'r rhai mwyaf darllengar o honoch fod y rhan fwyaf

o Brotestaniaid y Cyfandir, a llawer o Brotestaniaid Lloegr hefyd, yn gwadu nid yn unig fod yr Iesu yn Dduw, ond hefyd ei fod yn *ddyn* di-bechod. Nid yw'r Protestaniaid hyn, y rhai y mae eu Protestaniaeth yn gynnwysedig yn unig mewn protestio yn erbyn pob athrawiaeth oruwchresymol, ddim yn foddlon i dderbyn *gair* hyd yn oed Iesu Grist ei hun am dano'i hun. Y maent yn ei ddwyn o flaen y frawdle, ac yn ei holi, ac yn holi ei gyfeillion; ac ar ol mesur a phwyso'r attebion y maent yn cyhoeddi ei fod yn ddi-euog o dwyllo o'i wirfodd wrth haeru ei fod yn ddi-bechod, ac yn priodoli'r cyfeiliornad i'w anwybodaeth, ac yna yn dadogol iawn yn ei ollwng yn rhydd, gan dystiolaethu, er nad ydyw yn ddi-bechod, ei fod yn ŵr da iawn. A llefaru yn noeth, hwy a ddywedant fod yn annichon *profi* fod yr Iesu yn ddibechod, am na allwn ni, ac na allai ei ddiscyblion chwaith, ddim chwilio'i galon. Ië, fe ddywed rhai o honynt fod amryw o'i ymadroddion a'i weithredoedd yn dangos nad oedd efe heb ei feiau.

Fe welir, gan hynny, fod yn bryd ini bellach fod yn barod i roi atteb i bob un a ofyno ini reswm am y syniad sy gennym am gymmeriad yr Arglwydd Iesu. A oedd yr Iesu yn ddi-bechod ai nid oedd? Dyma bwnc y pynciau y blynyddoedd hyn. Os addefwn ei fod yn ddi-bechod, nid oes gennym ddim esgus am beidio â chredu iddo. Os dywedir nad oedd, yr ydys yn dadsylfaenu Cristionogaeth, am nad oes felly ddim gwir yn nhystiolaeth ei hawdwr am dano'i hun, na dim grym yn ei orchmynion ef i ddynion. Os nad oedd efe yn ddi-bechod, nid oedd efe ddim yn Dduw, nac felly yn Waredwr chwaith. Byw *fel* efe yr ydym ni ar y gorau, eithr nid oes neb yn byw trwyddo. Y mae yn ddïau ein bod *ni* oll yn credu â'r gàlon fod yr Iesu yn bobpeth ag yr oedd efe yn tystiol-

aethu ei fod; ond i gredu yn drwyadl, y mae yn angenrheidiol ini gredu hynny nid yn unig â'n holl gàlon, ond â'n holl feddwl hefyd. Pan y mae rhydd-feddylwyr yn cyfeirio at eiriau a gweithredoedd yr Iesu, nid ydyw mor hawdd eu gwrthatteb am nad ydys yn hyspys o'r holl amgylchiadau ym mha rai y llefarodd yr Iesu y geiriau hynny, ac y cyflawnodd efe y gweithredoedd hynny, eithr fe ellir dyweyd digon i ddangos fod ganddo achos da i lefaru ac i weithredu fel y gwnaeth efe. Fe ddywedir fod ei atteb i'w rïeni, pan y cawsant ef yn y deml ar ol chwilio am dano dridiau, yn ammharchus os nad hefyd yn herllyd. Er mwyn deall yr atteb hwn, fe ddylid cofio mai pan yn ddeuddeg oed y gwelodd yr Iesu y ddinas santaidd y waith gyntaf, ac y mae'n hawdd canfod yn yr hanes i'r olwg arni ddeffroi ei ymwybyddiaeth, nes peri iddo synio fod Duw yn Dad iddo, a'r deml yn dŷ ei Dad. Y mae'n fwy na thebygol iddo golli'r ymwybyddiaeth honno yn ebrwydd ar ol hyn. Yn niscleirdeb y goleuni ysprydol hwn, a dywynodd i'w enaid, fe ddichon iddo anghofio cynnrychiolwyr daearol ei Dad nefol, ond nid oedd hyn ynddo ef yn anufudd-dod, eithr yn hytrach yn ufudd-dod uwch. "Oni wyddoch chwi fod yn rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" Fe wyddai Mair yn dda pwy oedd gwir Dad yr Iesu; canys fe ddywedasai'r angel wrthi am dano:—"Efe a elwir yn fab y Goruchaf;" ac yn ei atteb hwn y mae'r Iesu yn rhoi ar ddeall iddi fod y gwirionedd wedi fflachio i'w feddwl yntau. Fel pe dywedasai efe:—"Os Mair ydyw fy mam, Duw ydyw fy Nhad, a thybed fy mod yn bwrw ammarch ar fy mam wrth ddangos parch i'm Tad?" Ystyr hyn ydyw:—"Ni bûm anufudd i'r weledigaeth nefol." Y mae'r Iesu o dan ddylanwad yr ymwybyddiaeth ei fod yn Fab Duw yn synnu fod Mair yn disgwyl cael hyd iddo yn unlle oddi eithr yn *nhy* Dduw. Fe ymddiriedwyd trysor

drud i Mair pan y dewiswyd hi o blith gwragedd Israel yn fam i'r Gwaredwr, a rhaid addef ei bod hi a'i gŵr wrth fyned adref o'r ŵyl wedi anghofio dros ennyd *ddyledswydd* rhïeni wrth fod mor ddiofal am yr Iesu; er hynny, pan y soniasant am *hawliau* rhïeni, fe'u canlynodd hwynt yn ebrwydd, ac a fu ostyngedig iddynt. Ond pa un bynnag a fuont hwy yn euog o hyderu gormod ar eu ceraint a'u cydnabod ai peidio, y mae y ffaith eu bod wedi ei adael ef yn dangos fod ganddynt bob ymddiried ynddo hyd yn hyn, a'i fod ef wedi arfer ufuddhau iddynt. Heb law hynny, oni buasai am y ffaith eithriadol hon yn hanes bore'i oes; hynny ydyw, pe na buasai yr hyn oedd ddwyfol ynddo wedi ymgynhyrfu ac ymwthio i'r wyneb gymmaint ag unwaith cyn cael o hono ei fedyddio, fe allasai Mair er gwaetha'r hyn a ddywedasid wrthi ddeuddeng mlynedd yn flaenorol anghofio mai mab y Goruchaf oedd ei mab hi. Temtasiwn Mair oedd meddwl mai dŷn yn unig oedd ei chyntaf-anedig. Temtasiwn agos bob mam arall ydyw meddwl fod ei chyntaf-anedig yn dduw bach.

Ond pa beth, medd rhywrai, am atteb yr Iesu i'w fam ar ddau achlysur arall, sef y briodas y'Nghana, a phan y daeth hi a'i frodyr o i'w wledd ef yn ddiweddarach? "Beth sydd i mi a wnelwyf â thi wraig? ni ddaeth fy awr i etto." Onid oedd hwn, meddant, yn atteb craseiriog i fam? Nac oedd, ddim yn *gras*-eiriog, eithr yr oedd yn *fyr*-eiriog, a rhaid addef fod atteb bŷr yn ymddangos i bobl dra seremonïol yn atteb cwtta—ïe, yn atteb craslyd, ond ar y bobl y mae y bai am hynny. Bwrier fod yr atteb yn llym, etto nid ydyw atteb llym ddim o angenrhaid yn atteb beius. Bwrier ymhellach ei fod yn atteb anweddus i fab ei roi i'w fam, nid ydyw hynny chwaith ddim yn profi ei fod yn anweddus yngenau'r Iesu y pryd hwn; o blegid dyma'r pryd y dechreuodd efe amlygu ei

ogoniant, ac y dangosodd efe gyntaf ei fod yn Fab Duw mewn gallu. Yr oedd efe erbyn hyn wedi ymroi i'w waith cyhoeddus. Yr oedd wedi dechrau byw bywyd newydd, ac yn y briodas yn Nghana Galilea y dangosodd efe mewn modd cyhoeddus ei fod yn darfod â'i hên fywyd, am nad oedd y wledd iddo ef yn ddim amgen na gwledd ymadawol i'w berthynasau a'i hên gyfeillion. "Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, wraig?" neu fel y dywedem ni yn y dyddiau hyn:—"Beth sydd rhyngwyf fi â thi mwyach, fy mam?" Fe fu a wnelwyf â thi am ddeng mlynedd ar hugain, eithr y mae y berthynas naturiol rhyngof â thi yn dibennu yn awr. Mi a ddanghosais hyd yn hyn fy mod yn fab i ti trwy wneuthur dy ewyllys *di*, eithr os mynni fod yn fam imi rhagllaw, trwy wneuthur o honot *ti* fy ewyllys *i*, y gelli di fod felly. Nid oes gennyf fi mwyach na mam na brodyr na chwiorydd yn ol y cnawd, canys er pan y'm bedyddiwyd fe'm galwyd i weithredu yn ol fy rheol fy hun i eraill, sef casàu ohonynt dad a mam, brodyr a chwiorydd, a'u bywyd eu hunain hefyd, er mwyn person a pherthynas a gwaith uwch. Eithr dros amser yn unig y bydd hyn—"ni ddaeth fy awr i etto." Eithr fe ddaeth yr awr, pan y goddefodd efe i'w serch naturiol tuag at ei fam ymadfywio; ond yr awr yn yr hon y llefodd efe y gair "Gorphenwyd" oedd honno. Y mae efe yn ei chyflwyno hi yn gynnes i ofal ei anwylyd, gan ddywedyd:—"O! wraig, wele dy fab; O! ddiscybl, wele dy fam." Os danghosodd efe ynghanol ei ddyddiau mai mab ei Dad oedd efe, fe ddanghosodd yn nechrau a diwedd ei oes ei fod hefyd yn fab ei fam. Y mae y rhai sy'n tramgwyddo wrth eiriau o'r fath yma yn anghofio fod mab Mair wedi myned yn Arglwydd arni pan y daeth efe i'w oed. Yr oedd yr Iesu yn wir ddŷn, ac am hynny yn esampl i ninnau; ond yr oedd efe yn ddŷn anghyffredin, am ei fod yn ddŷn a'r Duwdod ynddo'n trigo, ac am

hynny yr oedd efe uwchlaw bod yn esampl ini bob amser ac ymhob peth.

Gwrthddadl arall :—Onid oedd yr Iesu wrth gymmeryd ei fedyddio gan Ioan yn cyffesu mewn ymddygiad, o leiaf, ei fod yn bechadur? Y mae'n wir mai bedydd edifeirwch oedd bedydd Ioan, ond am ei fod felly yr oedd Ioan yn anfoddlon i fedyddio'r Iesu :—"Y mae arnaf fi," ebe fe, "eisiau fy medyddio gennyt ti, ac a ddeui di attaf fi?" Fe ddengys y geiriau hyn, ynghyd â distawrwydd yr Iesu, mai nid i'w lanhau y cymmerodd efe ei fedyddio, eithr i amlygu ei barodrwydd i gymmeryd arno'i hun bechod ei bobl trwy farw drostynt. Ac oni thystiolaethodd Ioan yn fuan ar ol y bedydd :—"Wele Oen Duw, yr hwn sy'n tynnu ymaith bechodau'r byd?" Pa fodd y gallai'r Oen hwn ddwyn ymaith bechodau rhai eraill, os nad oedd efe ei hun yn ddianaf? Etto, "Onid aeth efe yn ddrwg ei hwyl pan yrodd efe'r anifeiliaid a'r gwerthwyr allan o gyntedd y deml?" Fe eiddigeddodd yn fawr, y mae'n ddïau, eithr, os dywed Solomon mai cynddaredd yw eiddigedd gŵr, nid cynddaredd mo eiddigedd yr Iesu pan y chwifiodd efe ei ffrewyll yn y deml. Y mae yr eiddigedd duwiol y sonia Paul am dano yn hytrach yn rhinwedd nag yn fai. Nid yw'r geiriau ddim yn rhoi ar ddeall iddo arfer y ffrewyll i ffrewyllu'r dynion na'r anifeiliaid chwaith, ond yn hytrach i yru ofn arnynt; ac er mwyn dangos na chollodd efe mo'i bwyll, ni ddychrynodd efe'r mo'r colomenod diniwed, eithr gorchymmyn a wnaeth efe i'r gwerthwyr gymmeryd rheini allan yn dringar yn eu cawelli.

Oni ddiystyrodd efe rwymedigaethau teuluol wrth ddywedyd wrth y dŷn a fynnai ei ganlyn ef yn ddioed ar ol claddu ei dad, "Gad i'r meirw gladdu eu meirw, ond

dos di a phregetha deyrnas Dduw?" Y mae'n sicr ei fod yn rhoi ar ddeall, ac yn amcanu rhoi ar ddeall, fod dyledswydd tuag atto ef a'i deyrnas yn bwysicach o lawer na dyledswydd dŷn tuag at ei berthynasau a'i orchwylion ei hun, pan y digwyddo i'r ddyledswydd hon daraw yn erbyn y llall. Fe deimla pawb fod yr hyn y mae'r Iesu yn ei ofyn ganddynt yn anodd; ond dynion daearol yn unig a synia fod hynny yn afresymol. "Beth a ddaw o'm teulu, ac o'm masnach, os na adawaf heibio bethau trymaf Cristionogaeth?" Gofyn yn hytrach, "Beth a ddaw o deyrnas Crist, ac o honot ti dy hun, os gadewi di hwynt heibio?" "Os ceisiaf yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder, mi af yn dlawd yn wir," medd un arall. Yn enw dŷn, pa drychineb i'r byd a fyddai hynny? Nid tlodi ydyw'r anffawd fwyaf a all ddigwydd iti. Fe aeth dy well di yn dlawd lawer gwaith wrth wasanaethu yr Iesu; ïe, fe aeth yr Iesu yn dlawd wrth dy wasanaethu di. Yn wir, ni allasai efe mo'th wasanaethu yn drwyadl heb fyned yn dlawd, ac nis gall neb mo'i wasanaethu yntau yn iawn, heb fyned yn dlottach o lawer nag y gallasai fod pe yn ei wasanaethu yn fusgrell. Y mae tipyn o grefydd fel ffon yn help i ddŷn fyned rhagddo yn y byd, eithr y mae crefydd fawr, fel baich, yn rhwystr iddo. Y mae bod dŷn heb yr un grefydd agos mor anfanteisiol a bod ganddo grefydd fawr; canys er y gall lleidr llednoeth redeg yn sioncach am yspaid nag y gall dŷn a ffon yn ei law, neu ddŷn â baich ar ei gefn; etto, os bydd yr yrfa yn un faith, y mae perigl iddo gael anwyd, a marw cyn cyrraedd ei phen hi.

Y mae hwn a hwn yn ddŷn da i'w deulu, meddir weithiau. Purion, y mae hynny yn dangos ei fod yn anifail rhagorol—cystal ond odid a'r arth neu aderyn y tô, ond nid ydyw hynny ddim yn profi ei fod yn sant. A

ydyw yn ddŷn da i'w gymmydogion, i'w wlad, i'r byd, i Grist? Y mae y dŷn a ymroddo i gyfoethogi ac i enwogi ei deulu ei hun yn well pagan na llawer, ond y mae yn iawn i rywun ddywedyd wrtho weithiau nad ydyw efe ddim yn Gristion. Pan y dywedodd yr Iesu wrth y dŷn yma :—"Gad i'r meirw gladdu eu meirw," yr oedd hi'n awr bwysig iddo, canys yr oedd y Gwaredwr ar adael Galilea am y waith ddiweddaf; ac yr oedd yn gweled gan hynny y byddai *aros* ar ol yr un peth i'r dŷn hwn a *thynu* yn ol i golledigaeth. Y mae hi'n digwydd weithiau y rhaid i ddŷn roi heibio y dyledswyddau mwyaf naturiol a gweddus, er mwyn cipio teyrnas nefoedd. Cofiwch hyn, nid trwy wneyd pethau annaturiol ac anghyfreithlon y mae y rhan fwyaf yn colli bywyd tragwyddol, ond trwy ymlynu wrth y naturiol, a thrwy ymroi i'r hyn sydd ynddo'i hun yn gyfreithlon. Y mae y dafarn yn lladd ei miloedd; y mae y siop yn lladd ei myrddiwn. Ffordd i uffern yw tŷ y wraig ddieithr; ïe, a ffordd lettach i uffern yw tŷ y wraig gyfreithlon. Y mae serch gwaharddedig yn damnio llawer; y mae serch cyfreithlon yn damnio mwy. Wrth ochel y pyllau sydd ar ein llaw aswy, gwyliwn rhag ymgolli yn yr anialwch maith o ddrysni sydd ar y dde.

Beth, ynte, a ddywedir i gyfiawnhau llymder yr Iesu tuag at y Phariseaid a'r cyfoethogion? Ni fyddai'n wiw i mi ymdrafferthu i'w gyfiawnhau am fod yn llym wrth ragrithwyr. Am y cyfoethogion, yr oedd efe yn llym wrthynt hwy, nid am eu bod yn gyfoethog, ond am nad oeddynt yn dlawd yn yr yspryd; am eu bod yn hunanol a balch; am eu bod yn lwth, ac am eu bod yn anghyfiawn. Nid yw dŷn na gwell na gwaeth am ei fod yn gyfoethog. Y mae y cwbl yn dibynu ar hyn; sef pa beth y mae efe yn ei wneyd â'i eiddo, a pha fodd y cafodd efe ei eiddo. Ai yn onest ynte yn anonest? Ai trwy lafurio

ynte trwy anturio? Ai trwy dyngu i'w niwed ei hun, ynte i niwed ei gymmydog? Ai trwy roddi arian ar delerau manteisiol i'r benthyciwr, yntè trwy roddi arian ar usuriaeth? Ai trwy *ewyllysio* ymgyfoethogi, ynte trwy fyned yn gyfoethog heb ewyllysio? Ai trwy wneyd bargen a fyddai yn elw i un blaid, ynte trwy wneyd bargen a fyddai'n elw cyfartal i'r ddwy blaid? Yr oedd hyd yn oed paganiaid gorau Groeg a Rhufain yn taeru nad oedd yn gyfiawn i ddŷn ennill ceiniog ar draul colledu eraill, ac nad allai dŷn gonest fyned yn gyfoethog iawn mewn bỳr amser. Os ydym ni yn chwennych anrhydeddu dynion ag yr oedd y paganiaid yn eu diystyru, a Christ yn cyhoeddi gwaeau yn eu herbyn, profi y mae hynny, nid fod y paganiaid yn anfoneddigaidd, na bod yr Iesu yn rhy lym, ond yn hytrach ein bod ni wedi dirywio.

Etto. Y mae rhai yn achwyn fod yr Iesu cyn diwedd ei oes wedi myned yn ddadleugar a checrus, a'i fod trwy hynny, fel y ceir engraifft, meddant hwy, yn y bennod hon, yn darostwng ei urddas, ac yn cyffroi eraill yn ei erbyn ei hun. Hwy a edrychant ar yr ymddiddan a gofnodir yma fel ffrwgwd waradwyddus, neu ymryson ar eiriau, yn yr hwn y mae yr Iesu yn galw yr Iddewon yn blant diafol, a hwythau yn ei alw yntau yn Samaritan, ac yn ddŷn cythreulig. Y mae yn wir ei fod yn llefaru yn hallt wrthynt; ond y mae gan ddŷn di-bechod fwy o hawl i lefaru yn hallt nag sy gan ddynion pechadurus. Rhaid cael genau glân i oganu, ac yr oedd genau'r Iesu yn lân. Ond yr oedd gan yr Iesu amcan arbenig wrth lefaru yn arw y waith hon, sef profi cywirdeb neu anghywirdeb ffydd y rhai oedd wedi credu ynddo. "Fel yr oedd efe yn llefaru y pethau hyn (sef y pethau mwynaf a lefarodd efe yn nechrau ei bregeth), llawer a gredasant ynddo. Yna y dywedodd yr Iesu wrth yr Iddewon a gredasant

ynddo:—"Os arhoswch yn fy ngair i, discyblion i mi ydych yn wir." Y mae rhyw fath o gredu nad yw yr Iesu yn rhoi dim coel arno. Yr unig gredu cymmeradwy ganddo ef ydyw'r credu sy'n cymmell dŷn i aros yn ei air. Nid ydyw yn wiw ganddo ef alw rhyw ŵyn blwyddiaid o gredinwyr yn ddiscyblion iddo—y mae efe yn cadw yr enw hwn i rai sy wedi aros gyd âg ef yn ei brofedigaethau. Enw anrhydeddus ydyw'r enw discybl, a thrwy hir wasanaeth yr ennillir ef. A glywsoch chwi'r newydd, medd rhywun:—Y mae dau ddwsin wedi dyfod i'r seiat yn y fan a'r fan, ac yr oedd y neb a'u perswadiodd hwynt i ddyfod yn gwarantu eu bod wedi eu hachub yn y fargen. O! y mae gennyf fi newydd rhyfeddach o lawer na hwn yna. Y mae yma ddau ddwsin *yn* y seiat o'u mebyd, ac yn debyg i *aros* ynddi hyd eu marw; ond er hynny, nid ŵyf fi ddim yn sicr a ydynt hwythau i gyd yn ddiscyblion i'r Iesu, am nad wn i a ydynt yn aros yn ei air hefyd. Cofiwch gyfeillion, yn enwedig chwi sy'n dueddol i roi coel ar ryw achub yscafn, nad ydyw yn bywhau dim heb law y tafod, mai *aros*—aros yngair Crist—mai bod yn anhunangar, yn faddeugar, yn gyfiawn, yn drugarog, yn ufudd; ac yn bennaf oll, yn ostyngedig, sy'n rhoi hawl i ddŷn i wisgo'r enw discybl. Nid pob un sy'n *dywedyd*—yn dywedyd—yn dywedyd—"Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd." Y mae sŵn y dywedyd yn y dyddiau hyn yn ddigon i syfrdanu dŷn, ond y mae'n rhaid i chwi estyn eich gwddw a gogwyddo'ch clust i glywed sŵn y gwneuthur.

"Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd eich tad chwi," ebe'r Iesu; ïe, wrth y rhai oedd newydd gredu ynddo, yn eu ffordd hwy eu hunain o gredu. "Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i am nad yw fy ngair i yn genni ynnoch." Lladd yr hwn yr oeddent newydd gredu

ynddo! Ië, cyn pen ychydig funudau ar ol credu yn Nghrist, hwy a godasant gerrig i'w taflu atto. Onid yw dynion yn greaduriaid chwidr iawn, os na byddant wedi eu cadarnhau yn y gair? A dyweyd y gwir yn eu gwyneb, nid oes fawr o ddal ar y lliaws—ar y "cyhoedd," fel y dywed y crach lenorion. Hwy a'ch llyfant y munud yma, ac a'ch lladdant y munud nesaf. Eich llyfu y byddant weithiau yn unig er mwyn eich gwneyd yn fwy llithrig i'ch llyncu. Proffwyd mawr yn awr, dŷn a chythraul ganddo yn fuan wed'yn. "Hosanna i Fab Dafydd" heddyw; "Croeshoelier ef," yfory. Ymroi i ennill ffafr y cyffredin ydyw'r gwaith gwaelaf a ellwch chwi ei wneyd, a chadw eu ffafr ar ol ei ennill, ydyw'r gwaith anhawddaf a ellwch ei gael. Na faliwn, gan hynny, pa beth a debyga'r byd am danom. Gwneled pob un ei ddyledswydd, ac efe a fydd gymmeradwy gan Dduw, a chan y saint hefyd.

"Nid ymddiriedodd yr Iesu i ddynion am dano'i hun, am yr adwaenai efe hwynt oll." Am ei fod yn nabod y credinwyr arwynebol y sonir am danynt yn y bennod hon, y parodd yr Iesu iddynt ddangos beth oeddent trwy ddywedyd y caswir wrthynt. Pan y byddai'r Iesu yn fwyaf cymmeradwy gan y bobl y byddai yn gwneyd ei hunan yn fwyaf anghymmeradwy ganddynt. Po mwyaf a gredai ynddo, llymaf oll y byddai yntau wrthynt. Os gwelwch chwi ddyddiau pan y bydd y rhai mwyaf tymmerog yn gwaeddi ac yn gorfoleddu, a lliaws yn dyfod o'r byd i'r eglwys, lleferwch yn llym wrthynt, os byddwch chwi'ch hunain yn gymmwys i lefaru yn llym, ac yna, os gall un o bob deg ohonynt oddef eich llymder, y mae yn debyg yr erys y rheini yn yr eglwys hyd y diwedd.

Etto. "Onid yw gweddi yr Iesu yNghethsemane yn dangos ei fod yn anymostyngar?" Nac ydyw, os golygir

y rhan flaenaf ohoni yngoleu y rhan olaf. "Fy Nhad, os yw bossibl, aed y cwpan hwn heibio oddi wrthyf; etto, nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." Un weddi, wedi ei gweddïo âg un anadl ydyw hon; am hynny, nid teg ei rhannu yn ddwy. Os ydyw'r Iesu yn ei dechrau hi megis yn cilio yn ol, cilio yn ol y mae efe er mwyn llammu dros yr anhawsder sydd o'i flaen. Nid ydyw hyd yn oed y petrusder sydd yn y weddi yn dangos dim mwy na bod yr Iesu yn wir ddŷn; ac felly yn teimlo fel dŷn; fod angau a gwaradwydd y groes yn ofnadwy; ac yn fwy ofnadwy iddo ef, o gymmaint a darfod ei wneuthur yn bechod ac yn felldith drosom ni. Y mae y rhai sy'n cyhuddo yr Iesu o lyfrdra o achos ei fod yn arswydo marwolaeth y bu cannoedd o wŷr—ïe, o wragedd hefyd, yn dioddef ei thostach o lawer tan ganu, yn anghofio fod ei farwolaeth ef yn farwolaeth fechnïol, ac fod ei natur ddynol ef yn fwy tyner, ac felly yn fwy poenadwy na natur neb arall. Ei waith yn ofni marw sy'n rhoi gwerth ar ei benderfyniad i ymostwng i ewyllys ei Dad, ac nid i'w ewyllys ei hun. Pa glod iddo a fuasai marw pe na buasai'n anodd ganddo farw?

Symmuder ynte o Gethsemane i Galfaria. Onid oedd yr Iesu yn ymdeimlo â rhywfaint o euogrwydd ynddo'i hun pan y dolefodd efe ar y groes:—"Fy Nuw, fy Nuw, pa ham y'm gadewaist?" Yn ddïau, ymdeimlad o ddiniweidrwydd ac nid o euogrwydd y mae y weddi hon yn ei arwyddo. Pan y byddo Duw yn gadael pechadur, raid i hwnnw ddim gofyn "Pa ham y'm gadewaist?" Y mae ei gydwybod ef ei hun yn atteb cyn gofyn o hono:—Pa ham? Y mae rhai yn taeru i'r Iesu ei hun roi ar ddeall unwaith nad oedd efe ddim yn ddi-bechod pan y dywedodd efe wrth ŵr ieuangc:—"Pa ham y gelwi *fi* yn dda; nid oes neb da ond un, sef Duw." Y mae'n wir nad oedd

yr Iesu pan y dywedodd efe hyn *ddim* wedi ei berffeithio trwy ddioddefiadau. Nid oedd efe y pryd hwnnw ddim yn dda fel y mae Duw yn dda, yr hwn y mae ei ddaioni mor hollol fel na *ellir* ei demtio ef â drygau. Ond y mae modd i un fod yn ddi-bechod heb fod yn dda; hynny ydyw, y mae modd i un beidio â phechu heb fod ar dir mor uchel fel nad all efe ddim pechu. Y mae fod yr Iesu yn ddŷn, a'i fod wedi ei demtio, yn profi y *gallasai* efe bechu; er hynny, "ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Os nad oedd efe yn dda, yr oedd yn ddi-ddrwg; os nad oedd efe yn berffaith, yr oedd yn bur.

Y mae un wrthddadl arall a arferir weithiau i geisio profi nad oedd yr Iesu yn ddi-bechod, sef hon:—Onid oedd efe wrth ddywedyd na ddichon pren drwg ddwyn ffrwyth da, yn awgrymu'r gofyniadau hyn:—"Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? Pa beth yw dŷn i fod yn lân, a'r hwn a anwyd o wraig i fod yn gyfiawn?" Os nad oedd iddo dad llygredig, yr oedd iddo fam lygredig; ac ni fyddai'n iawn taeru mai o du y tad yn unig y trosglwyddir llygredd Adda i'w hiliogaeth. Pwy bynnag oedd ei dad, onid oedd ei berthynas â Mair yn ei wneyd yn gyfranog o'i natur lygredig hi? Rhaid addef fod y cwestiwn hwn fel llawer cwestiwn arall yn haws i'w ofyn na'i atteb, am fod a wnelo â dirgelwch mawr duwioldeb; ond i'r rhai sydd eisys yn credu gwyrth yr ymgnawdoliad, y mae yr hyn a ddywedodd Gabriel wrth Mair yn agoriad i'r dirgelwch:—"Henffych well, Mair, yr hon a gefaist ras; yr Arglwydd sydd gyd â thi; bendigaid wyt ymhlith gwragedd." Nid o wraig gyffredin y ganwyd yr Iesu, ond o'r forwyn Fair fendigaid—dynes etholedig o'r bobl etholedig. Da y dywed Martensen, y dyfnaf o ddiwinyddion Protestanaidd yr oes hon, mai nid darparu Crist yn unig oedd gwaith yr Israel, ond darparu mam Crist

hefyd; ac mai hi ydyw'r pwynt puraf mewn hanes ac mewn natur. Ac heb law ei bod hi wedi ei darparu trwy ystod cenedlaethau i fod yn fam gymmwys i'r Gwaredwr, fe'i darparwyd hi mewn modd neillduol, naill ai yn ei genedigaeth, neu yn ddiweddarach:—"Henffych well, Mair, yr *hon* a gefaist ras." Y mae yn amlwg mai nid y gras cyffredin a roddir i bob gwraig dduwiol oedd hwn, eithr gras arbenig oedd yn ei gwneyd hi dros amser, os nad o'i genedigaeth, yn ddihalog; neu o leiaf, yn ei hattal rhag trosglwyddo ei halogrwydd i'r hwn a enid o honi. Y mae y Catholigion mwyaf anwybodus, mewn gweithred, er nad mewn bwriad, yn darostwng yr Iesu wrth ddyrchafu Mair. Yr un ffunud, y mae y Protestaniaid mwyaf rhagfarnllyd yn darostwng yr Iesu wrth synio yn rhy isel am gymmeriad ei fam ef, heb law eu bod yn rhoddi mantais i anffyddwyr i gael craff arnynt.

Ond nid trwy fanylion o'r fath yma wedi'r cwbl y gellir yn orau brofi fod yr Iesu yn ddi-bechod, ond trwy gyssylltu ynghyd ddwy ffaith ddiammheuol. Dyma'r ffaith flaenaf, sef fod yr Iesu yn gymharol santaidd. Y mae hyd yn oed y rhai sy'n gwadu ei fod yn ddi-bechod yn addef ei fod yn *un* o'r dynion gorau a fu erioed. Y mae tystiolaeth cydnabod a chydoeswyr yr Iesu yn dangos ei fod yn ddŷn di-fai yn eu golwg hwy, os nad oedd efe felly mewn gwirionedd. "Nid ŵyf fi yn cael dim bai ar y dŷn hwn," ebe Pilat. "Na fydded iti a wnelych â'r cyfiawn hwnnw," ebe'i wraig. "Hwn ni wnaeth ddim allan o'i le," ebe un o'r drwg-weithredwyr. "Yn wir, yr oedd hwn yn ŵr cyfiawn," ebe'r canwriad. "Pechais, gan fradychu gwaed gwirion," ebe un oedd yn ei nabod yn bur dda. Ac ebe'r ddau oedd yn ei nabod orau o bawb: "Iesu Grist y cyfiawn;" "yr Oen di-feius a di-frycheulyd." Y mae'n wir nad oeddent hwythau ddim yn gallu chwilio'i

gàlon, ond y mae eu syniad hwy am dano yn profi ei fod yn well na'r cyffredin.

Yn awr, po mwyaf santaidd y byddo dŷn, gorau oll y cenfydd efe ddrwg ynddo'i hun, a pharotaf oll ydyw i edifarhau am dano. Os oedd yr Iesu y gorau, neu yn un o'r rhai gorau o bawb, rhaid y buasai efe yn canfod y bai lleiaf ynddo'i hun, pe buasai bai ynddo. Dyma'r ail ffaith yr ŵyf yn pwyso arni—ni chafodd yr Iesu erioed ddim bai ynddo'i hun. A glywyd ef erioed yn cyffesu y dim lleiaf yn ei erbyn ei hun? Gŵr gofidus oedd efe, ond a welwyd ef rywbryd yn galaru o achos twyll ei gàlon, oferedd ei eiriau, a drygioni ei weithredoedd? Yr oedd efe yn gweddïo llawer, ond a glywyd ef yn gweddïo am faddeuant?

Tybed ei fod yn meddwl ei fod yn ddi-bechod am ei fod yn lân oddi wrth bechodau amlwg? Na, nis gall hynny ddim bod, o blegid yr oedd yn fynnych yn condemnio y Pharisëaid am eu bod yn ymfoddloni ar gyfiawnder allanol, gan ofalu mwy am ddwylaw glân nag am gàlon lân. Ni fuasai'n wiw ganddo ef yn anad neb feddwl ei fod yn ddŷn da am nad oedd yn llofrudd, yn lleidr, yn odinebwr, neu yn gam-dystiolaethwr. Yn ei olwg ef y mae digio heb achos yn ddechreuad llofruddiaeth; chwennychu eiddo cymmydog yn ddechreuad lladrad, a chwanegu geiriau heb ddim rhaid at *ïe* a *nagé* yn ddechreuad anudoniaeth. Wrth fesur eraill wrth y safon uchel yma, rhaid ei fod yn mesur ei hunan hefyd wrthi; ond er ei fod yn cyhuddo'r Pharisëaid o gyfiawnder rhy fychan, nid ydyw ddim yn cyhuddo'i hun o unrhyw ddiffyg. Yn y testyn y mae efe yn beiddio herio'i elynion, gan ofyn:—"Pwy o honoch a'm hargyhoedda i o bechod?" Y mae'n wir nad yw distawrwydd ei elynion

yngwyneb yr hèr ddim yn profi nad oedd yr Iesu yn euog o feiau cuddiedig; ond y mae ei ofyniad yn profi llawer—yn profi'r cwbl yn wir; canys pa fodd y gallai un â'i gydwybod mor dyner fod yn euog o gymmaint o ragrith a chymmaint o ryfyg, os oedd efe yn ymwybod â rhywfaint o ddrwg ynddo'i hun?

Nid yn unig y mae yn ymdeimlo yn lân oddi wrth bob gweithred feius, oddi wrth bob gair ofer, oddi wrth bob syniad a dymuniad anghymmeradwy, ond y mae hefyd yn ddiogel ganddo nad esceulusodd efe wneuthur dim da, ac na fethodd efe mewn dim â chyflawni y gwaith a roes y Tad iddo. Ychydig cyn ei farw, y mae yn codi ei lygad tua'r nef, ac megis yn edrych ym myw llygaid ei Dad, ac yna yn dywedyd yn ddibetrus:—"Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear; mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur, ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyd â thi dy hun â'r gogoniant oedd i mi gyd â thi cyn bod y byd." Pa sant â brycheuyn arno a feiddiasai weddïo ar Dduw fel hyn? Yngwyneb y pethau hyn, y mae gorfod ar bob dŷn gredu un o ddau beth; sef, naill ai fod yr Iesu yn hollol ddi-bechod, fel yr oedd ei gydwybod ef ei hun yn tystiolaethu ei fod, neu ynte ei fod y dallaf a'r calettaf o feibion dynion, o herwydd nad oedd ei gydwybod wedi ei ddyscu i ganfod ynddo'i hun y pechod hwnnw y mae holl blant dynion yn gyfrannog o hono, ac yn ymwybodol o hono. Y mae'n ddiau y penderfynwch fod yn haws credu'r blaenaf o'r ddau beth, sef fod yr Iesu yn ddi-bechod.

Ond, os ydyw yn ddi-bechod, y mae yn canlyn ei fod yn ddi-gelwyddog. Gan ei fod yn ddi-bechod, *rhaid* ei fod yn dywedyd y gwir nid yn unig am dano'i hun, ond hefyd am Dduw, am ddŷn, ac am berthynas y ddau â'u

gilydd, ac am bob peth y mae'n bwysig i ddŷn ei wybod a'i wneuthur. Ond os hwn yna ydyw'r casgliad athrawiaethol, dyma'r casgliad ymarferol yn yr ymresymiad:— Os ydyw'r Iesu yn dywedyd y gwir, pa ham nad ydych yn credu iddo? Credu i air neu i dystiolaeth yr Iesu a feddylir wrth gredu *iddo*, ond y mae hynny yn cynnwys mwy na *choelio* ei dystiolaeth—y mae yn cynnwys credu dysceidiaeth yr Iesu mor ddifrifol ag i beri i ddŷn fyw ynddi a byw wrthi. Y mae rhai o'r pethau a ddywed yr Iesu mor anodd i'w credu nid yn unig yn ymarferol, ond hefyd yn athrawiaethol, fel y mae efe yn myned ar ei wir wrth eu traethu. Chwychwi, y dynion moesol, a ydych yn credu yn eich càlon eich bod yn gyfryw rai ag na thalwch chwi ddim i'r nefoedd fel yr ydych—fod yn rhaid eich ail-eni, eich creu o newydd, a'ch troi ymhob rhyw fodd? "Yn wir, yn wir, meddaf iti," ebe'r Iesu wrth un cystal a'r goreu o honoch, "oddi eithr geni dŷn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Y chwi sy'n meddwl eich bod yn gryn ddynion, ac yn gofalu mwy am eich urddas nag am ddim arall, a ydych chwi yn gallu credu i Grist pan y mae yn dywedyd hyn:—"Yn wir, meddaf i chwi, pwy bynnag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dŷn bach, nid ä efe i mewn iddi?" Y chwi sy'n chwannocach i ymgyfoethogi mewn arian nag mewn gweithredoedd da, a ydych bob amser yn credu yr adnod hon:—"Yn wir, y dywedaf i chwi, mai yn anhawdd yr ä goludog i mewn i deyrnas nefoedd?" Y chwi, langciau anystyriol, sy'n meddwl eich bod yn feistriaid arnoch eich hunain ar ol cadw noswyl, neu ar ol myned i Gaer neu rywle pellach, a fuoch chwi rywbryd yn credu ac yn crynu wrth y gwirionedd hwn:—"Yn wir, meddaf i chwi, pwy bynnag sy'n gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod?" Y chwi, grefyddwyr matterol, a ydyw yn hawdd gennych gredu a gwneuthur yr hyn a ddywed yr

Iesu yn y geiriau hyn:—"Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni fwyttewch gnawd Mab y dŷn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes gennych fywyd ynnoch?" Y chwi, saint o ychydig ffydd, pa sawl gwaith y rhaid i'r Iesu ddywedyd hyn wrthych, cyn y credwch iddo:—"Yn wir, yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynnag a ofynnoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'u rhydd i chwi?" Yr ydych yn credu fod yr Iesu yn ddi-bechod, ac yn credu gan hynny ei fod yn dywedyd y gwir. Pa ham nad ydych yn credu iddo yn y pethau hyn hefyd, ac yntau wedi myned o'i ffordd i dyngu trwy lŵ eu bod yn wir?

Y chwi sydd heb gredu iddo mewn dim i bwrpas, pa ham nad ydych yn credu iddo yn y pethau a berthyn i fywyd, os nad yn y pethau a berthyn i dduwioldeb? Pa ham? Attebwch fel dynion; y mae'ch mudandod yn sarhad ar y gofynnwr. Os gwyddoch am un anach ar yr Iesu, neu am un achos cyfiawn fel na ellir yn gyfreithlon eich cyssylltu trwy ffydd âg ef mewn glân briodas, dywedwch yr awrhon. Wel, gan eich bod yn gofyn i ni mor bennodol, ni a ddywedwn i chwi. Nid am fod gennym ni ddim yn erbyn yr Iesu ei hun, ond am fod gennym ni beth yn eich erbyn chwi, sy'n proffesu eich bod *wedi* credu iddo. Yr ydych yn dywedyd ar broffes, o leiaf, fod gennych ffydd, ond pa le y mae'r arwyddion gweledig o honi? Pe baech yn rhoi i ni eich ffydd farw chwi yn gyfnewid am ein gweithredoedd ni, ni fyddech chwi ddim ar eich colled. Yr ydym yn afradlon, ond y mae rhai o honoch chwi yn gybyddion. Yr ydym yn meddwi yn chwilgorn unwaith yn y mis, ond yr ydych chwi yn gwneyd rhyw gast annynol neu gilydd bob wythnos. Yr ydym yn chwareugar, yr hyn sydd arwydd ein bod yn dra phlentynaidd, rhaid addef; ond os ydym *ni* yn chwarau rhan y plentyn, yr ydych *chwi* yn chwarau rhan y cythraul, canys

yr ydych yn casàu ac yn enllibio'ch gilydd. Yr ydych yn ein cynghori ni yn ddigon rhugul, ac yn santeiddiol iawn yn gweddïo drosom; ond ni thwyllir monom ni â gwep a chwynfan Pharisëaidd.

Y mae gormod o wir yn eich achwynion, ond goddefer i minnau osod gwir arall ar ei gyfer; sef, os demnir rhai o honom ni o blegid ein rhagrith, ni chedwir monoch chwi o blegid eich anghrediniaeth. Dywedwch, os mynnwch, nad yw crefyddwyr gorau y dyddiau hyn ddim cystal a chrefyddwyr gorau y dyddiau gynt, wnaf fi ddim ymdroi i'ch gwrthbrofi, er fy mod yn eich anghoelio; ond mi ofynnaf i chwi gredu i Grist er mwyn yr *hên* grefyddwyr yr ydych chwi yn eu mawrygu. Credwch iddo er ei fwyn ei hun. Os ydyw'r discyblion wedi dirywio, y mae'r Athro cystal heddyw ag y bu erioed. Dywedwch etto beth mwy credadwy; sef, nad oes gan bregethwyr y dyddiau hyn gystal dawn a llais i gymmell gwrandawyr i gredu ag oedd gan yr hên bregethwyr a glywsoch chwi gynt. Ond fe glywsoch chwi y rheini, ac er hynny ni chredasoch chwi ddim. Os nad oes gennym gystal Cymraeg, a chystal areithyddiaeth, a chystal llais i ddylanwadu arnoch, y mae gennym wirionedd llawn purach, a llawer ëangach, nag oedd ganddynt hwy. Caffed y gwirionedd ddylanwad arnoch. Pe buaswn i yn gofyn ichwi gredu i rai o honom ni, mi fuaswn i yn barod iawn i gydnabod priodoldeb eich gwrthddadleuon, ac i gyfiawnhau eich anghrediniaeth; ond gofyn pa ham na chredwch i'r Iesu yr ydwyf, ac yr ydych etto heb atteb y gofyniad hwnnw. Anghofiwch am funud ei gennad gwael, a thebygwch ei fod ef ei hun yn gofyn ichwi:—"Pa ham na chredwch i *mi?*" Pa ham, hefyd? Y mae yn gofyn ymhob tôn—yn llym ac yn lleddf—Pa ham nad ydych yn credu? (yn llym). Pa ham nad ydych yn credu? (yn lleddf). Ai am na ddis-

cynais i yn ddigon isel? Ai am na cherais i yn ddigon cryf? Ai am nad yw fy rhagluniaeth yn ddigon gofalus, na'm hiachawdwriaeth yn ddigon gwerthfawr? Ai am nad yw nefoedd fy Nhad yn ddigon dymunol i'w cheisio? Ai am nad yw uffern obry yn ddigon poeth i'w gochel? Pa ham? Pa ham?

Y mae y peth yn bwysicach i chwi nag i mi. Mi allaf fi fyw heboch chwi, ond ni allwch chwi ddim byw hebof fi. Oni chredwch imi, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau; ac yn eich pechodau *parhewch* i farw yn dragywydd. Pechod a fydd y gwely angau y rhaid ichwi orwedd arno byth. Ond pa ham, tŷ Israel, pobl y breintiau mawr, y byddwch feirw, a minnau trwy fy ngwaedlyd chwys a'm dygyn boen, wedi dwyn bywyd i ymyl eich llaw? Er y gallaf fi fyw heboch, y mae'n anodd gennyf eich colli, rhaid imi addef; canys i geisio rhai o'ch bath chwi y daethum i'r byd; ac yr ŵyf yn ewyllysio cadw yr hyn yr ŵyf yn ei geisio. Nid ymhoffaf—waeth gennyf ddadguddio ichwi fy ngwendid na pheidio—"Fel mai byw fi nid ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol;" am hynny, tra byddwch chwi byw, mi a'ch *byddaraf* â'r gofyniad:—"Pa ham nad ydych yn credu?"

Cofiwch mai yr Iesu ei hun sy'n gofyn, ac y mae efe yn gallu gofyn yn fwy difrifol nag y gallaf fi; ond er hynny, y mae arnaf ofn nad ydych etto ddim yn credu. Pa ham? Mi ddywedaf *i chwi* pa ham. Yr ydych yn anghredu nid *er* fod yr Iesu yn dywedyd y gwir, ond *am* ei fod yn dywedyd y gwir. Nid ydyw yn dda gennych mo'r gwirionedd; y mae yn edrych yn rhy ddwfn, yn llefaru yn rhy groew, ac yn barnu yn rhy lym. Hyn a ddywed yr Iesu ei hun yn yr adnod nesaf i'r testyn:—"Am fy mod i yn dywedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi."

Ac yn yr adnod nesaf ond dwy y mae efe yn dywedyd:—"Pa ham nad ydych yn deall fy lleferydd i? am na ellwch wrando fy ymadrodd i." Mewn geiriau eraill, pa ham nad ydych yn prisio *ffurf* fy mhregeth? Am nad yw yn hoff gennych gynnwys fy mhregeth. Y gwirionedd sydd ynddi sy'n ei gwneyd yn adgas gennych; ac am hynny yr ydych yn beirniadu'r dull yn lle derbyn y defnydd. Pa ham, etto, nad yw yn hoff gennych y gwirionedd? Y mae o bobtu i'r testyn atteb i'r gofyniad hwn hefyd:—"O'ch tad diafol yr ydych, a thrachwantau eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur." Pa ryfedd fod plant y celwyddog yn casàu y gwirionedd? "Nid ydych chwi yn gwrando *geiriau* Duw, am nad ydych *o* Dduw;" hynny ydyw, am nad ydych yn chwennych *gwybod* ei ffyrdd ef, na gwneuthur ei ewyllys. Yn y gàlon y mae gwreiddyn eich anallu.

"Pa beth a allaf fi wrth fy natur," ebe rhywun. Ti elli, o leiaf, beidio âg ymroddi i'th drachwantau. Wrth *borthi* y rheini; wrth *wneuthur* pechod, yr wyt yn gwneyd dy hun yn fwy o gaethwas i bechod. Gwna osgo i ladd dy drachwantau. Paid â digofaint, a gad ymaith gynddaredd. Os difenwaist, na ddifenwa drachefn. Os lladrateaist, na ladratta mwyach. Os byddi'n meddwi, bydd sobr o hyn allan. "*Ymarfer* dy hun i dduwioldeb." Os wyt yn gybyddlyd, ymarfer dy hun i garedigrwydd trwy dori dy fara i'r newynog. Os wyt yn draws, ymarfer dy hun i gyfiawnder trwy wneuthur uniondeb i'r gorthrymedig. Os nad yw dy *ewyllys* di etto yn nghyfraith yr Arglwydd, na rodia ynghyngor yr annuwiolion; na saif yn ffordd pechaduriaid; nac eistedd yn eisteddfa gwatwarwyr. Ti elli wneyd hynny, yn sicr. Paid â gwneuthur drwg; dysc wneuthur daioni; a gwna'r pethau hyn oll, nid cyn gweddïo, nac ar ol gweddïo, ond

wrth weddïo, tan weddïo, ac yn ebrwydd ti a deimli dy fod wedi dechrau credu megis yn ddiarwybod i ti dy hun.

Yr wyf wedi awgrymu eisys fod y ffurf sydd ar ofyniad yr Iesu yn galonogol iawn i ni, er y cwbl. Y mae y ferf yn yr amser presennol, yr hyn sy'n arwyddo nad yw Mab Duw ddim wedi peidio â siarad â ni etto. Pa ham nad *ydych* yn credu? Nid adlais y cwestiwn a ofynwyd oesoedd yn ol yNghanaan ydyw hwn, ond llais newydd sy'n dyfod yn awr o enau'r Gwaredwr. Nid ydyw'r Iesu ddim yn edliw anghrediniaeth y blynyddoedd sydd wedi myned heibio, ond y mae efe yn gofyn yn y modd mwyaf cyfeiriol:—"Pa ham nad *ydych* yn awr yn credu imi?" Tra parhao'r Iesu i holi, nid ydyw ddim yn rhy ddiweddar i neb atteb.

Edrychwch anghredinwyr, na roddoch, trwy eich cyndynrwydd byth achos i'r Barnwr, na neb arall i ofyn ichwi:—"Pa ham na *fuasech* yn credu?" Beth a wn i na thery rhyw ddynion tywyll, tlawd, o ynysoedd Môr y De wrth un o honoch, naill ai ym myd yr ysprydion, neu ar faes y farn, a gofyn:—"O ba le y doist ti?" "O Gymru." "Gwlad baganaidd, y mae'n debyg?" "O nagê, gwlad Gristionogol yn anad llawer." "Beth! a glywaist ti ynddi y pethau ynghylch Iesu o Nazareth?" "Do, gannoedd o weithiau." "Ac heb gredu iddo yn y diwedd! Wfft i ti, yr ynfyttyn gwirion! Unwaith erioed y clywais i bregethu Crist, ac mi gredais iddo y waith honno. Pa ham na buaset *ti* yn credu?" Heddyw, anghredinwyr, ar ol cymmaint o amser. Heddyw, tra y dywedir heddyw, "Pa ham nad *ydych* yn credu?" Heddyw, cyn y cyffroad; cyn i'r Mab ddigio; cyn cynneu llid yr Oen. Heddyw, cyn i'r ddeddf esgor; cyn i'r dydd

fyned heibio fel peiswyn. Heddyw, os gwrandewch—nid ydyw heddyw ddim yn heddyw i chwi, os na wrandewch. Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonnau. Mi wn ei bod yn fwy anodd i chwi gredu heddyw nag oedd hi ddoe. Credwch er hynny, o blegid hi a fydd yn fwy anodd fyth yfory.

*Awst 23ain, 1890.*

## XV

## Y GORCHYMMYN NEWYDD.

"*Gorchymmyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, Ar garu o honoch eich gilydd; fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd. Wrth hyn y gwybydd pawb mai discyblion i mi ydych, os bydd gennych gariad i'ch gilydd.*"—IOAN xiii. 34, 35.

YN ol ein cyfieithiad ni, y mae yn amlwg fod yr ymadrodd "ar garu o honoch eich gilydd" yn cynnwys y gorchymmyn newydd; a'n cyfieithiad ni, sef y cyfieithiad cyffredin, y mae agos bob esponiwr yn ei ddilyn. Ond os caru o honynt eu gilydd ydyw'r gorchymmyn a roes yr Iesu i'w ddiscyblion, pa ham y gelwir ef yn orchymmyn newydd? Onid yw "câr dy gymmydog fel ti dy hun" yn hên orchymmyn, wedi ei roddi i feibion Israel yn yr anialwch, ac wedi ei gadarnhau lawer gwaith ar ol hynny gan y proffwydi? Y mae esponwyr yn ceisio atteb yr wrthddadl hon trwy roddi i'r gair "newydd" naill ai ystyr rymmusol neu ynte ystyr anarferol. Y mae rhai, gan hynny, yn teuru y dylai dŷn bellach garu ei gymmydog yn *fwy* nag ef ei hun. Os ydyw'r esponiad yma yn gywir, y mae arnaf ofn y bydd y nefoedd yn lle anghyfannedd iawn. Fe ddywed eraill mai y meddwl ydyw y dylai dŷn garu ei gymmydog fel y carodd Crist ei bobl. Y mae hyn yn wir, eithr yn yr ymadrodd nesaf, ac nid yn yr ymadrodd sydd o dan sylw, y ceir y gwir hwn. Fe ddywed eraill fod y cariad brawdol a gymhellir ar Gristionogion yn rhywbeth amgenach na'r cariad cymmydogol y sonir am dano yn yr Hên Destament, ac am hynny fod caru yNghrist yn

gariad newydd o ran ei gylch, ei natur a'i gymhelliad. Fe ddywed eraill fod y ddyledswydd i garu dŷn am ei fod yn ddŷn yn newydd i'r Iddew, am ei fod ef yn tybied nad oedd iddo gymmydog y tu allan i'w genedl ei hun; ond nid pa beth oedd ei dyb ef ydyw'r pwnc, eithr pa beth oedd meddwl Duw wrth roi y gorchymmyn iddo. Y mae'r esponwyr sydd heb deimlo grym, neu heb weled priodoldeb y rhesymau hyn yn rhoi rhyw un neu gilydd o'r ystyron hyn i'r ymadrodd "gorchymmyn newydd"—y gorchymmyn sy'n parhau byth yn newydd; gorchymmyn adnewyddedig, gorchymmyn yn adnewyddu, y gorchymmyn diweddaraf, y gorchymmyn olaf, y gorchymmyn nodedig. Y mae'n well gen i yr hên esponiad a adgyfodwyd gan Lange, yr hwn sy'n dadlau yn ei waith ar Fywyd yr Iesu fod y gorchymmyn newydd yn cyfeirio at ordinhad Swpper yr Arglwydd; ac y mae yr adnod, o'i chyfieithu yn llythyrenol, yn cadarnhau ei olygiad ef:—"Gorchymmyn newydd yr ŵyf yn ei roddi i chwi, fel y caroch eich gilydd." Yn ol y cyfieithiad hwn, nid swm neu sylwedd y gorchymmyn a geir yn yr ymadrodd, eithr amcan y gorchymmyn.

Y mae'n hyspys i bawb o honoch fod y testyn yn un o'r pethau a lefarodd yr Iesu wrth ei ddiscyblion yn yr oruwch-ystafell ar y nos y bradychwyd ef. Y noswaith honno hefyd y sefydlwyd y swpper santaidd; ac er nad yw Ioan yn rhoi hanes sefydliad y swpper hwnnw, fe fuasai'n anodd iddo—ïe, yn wir, yn annaturiol iddo, goffàu geiriau heb ynddynt gymmaint ag un cyfeiriad at y swpper; ac os nad oes yn y testyn gyfeiriad atto, yna nid oes gyfeiriad atto o gwbl yn yr ymddiddan a gofnodir gan Ioan. Heb law hynny, fe farna y rhan fwyaf o'r esponwyr mai tua'r adeg y llefarodd efe eiriau'r testyn y darfu i'r Iesu sefydlu'r swpper. Ar bwys y rhesymau hyn, nid

ŵyf yn meddwl y byddaf yn euog o ddirdynu ystyr y testyn wrth benderfynu mai hyn ydyw cynnwys y gorchymmyn newydd :—" Gwnewch hyn er coffa am danaf. Ac yr ŵyf yn rhoddi ichwi y gorchymmyn newydd hwn fel y caroch eich gilydd—fel y caroch eich gilydd, meddaf, â'r cyfryw gariad ag y cerais i chwi; ac os cerwch eich gilydd felly, fe wybydd pawb mai discyblion i mi ydych." Gorchymmyn newydd ydyw hwn i bawb sydd o ffydd Iesu yn lle yr hên orchymmyn a roddwyd i feibion Israel i fwytta'r pasc. "Crist ein pasc ni a aberthwyd," ac y mae y waredigaeth a gafwyd trwy waed yr Oen difeius hwnnw yn haeddu ei choffàu yn fwy diolchus na'r waredigaeth a gafwyd trwy waed yr wyn a laddwyd yngwlad yr Aifft ar noswaith y lladdfa a'r gwaeddi mawr. Ni ddaeth yr Iesu i ddiddymu Pasc yr Iddewon, eithr i'w gyflawni trwy roddi iddo ystyr newydd ac amcan newydd.

Er mwyn dangos pa rai o ddefodau swpper y pasc a drosglwyddwyd i Swpper yr Arglwydd, mi a ddywedaf yn fyr pa bethau a fyddid yn eu gwneyd ac yn eu dyweyd wrth fwytta'r pasc, yn amser Crist. Ar ol i ddeg, o leiaf, ymgyfarfod yn yr hwyr, a lled-orwedd ar lythau, fe fyddai gŵr y tŷ yn gyntaf oll yn traethu diolch neu fendith uwch ben cwppanaid o win, ac ar ol yfed peth o'r gwin ei hun yn ei estyn i'r lleill. Y pryd hwn y mynegodd yr Iesu i'w ddiscyblion mai dyma'r wledd olaf a gadwai efe gyd â hwynt ar y ddaear, ac y cadwai'r wledd nesaf gyd â hwynt yn nheyrnas ei Dad. Yn ail, fe fyddid yn golchi dwylaw; a phan oedd hi'n amser golchi dwylaw, medd rhai, y darfu i'r Iesu olchi traed ei ddiscyblion. Yn drydydd, bwytteid dail surion, wedi eu gwlychu mewn gwinegr neu ddŵr hallt, er coffa am ofidiau plant Israel yn yr Aifft. Yn y cyfamser fe ddygid i mewn ar ddysglau oen y pasc, y bara

croyw, a'r caroseth, sef cyffaith neu saws wedi ei wneuthur o ffigys, rhesin, aeron palmwydd, a gwinegr. Fe fyddai'r plant a'r proselytiaid yn y cyfwng hwn yn gofyn pa beth oedd ystyr hyn oll, a gŵr y tŷ yn egluro iddynt, gan ddywedyd:—"Ni a fuom gaethweision i Pharoh yn yr Aifft, a'r Arglwydd â'n dug ni allan o'r Aifft â llaw gadarn;" ac felly ym mlaen. Yna, ar ol canu dwy Salm foliannus, fe yfid yr ail gwppanaid. Fel yr oeddid yn swpper y pasc yn dangos i'r plant yr hyn a fu yn yr Aifft ar y noswaith y lladdwyd pob cyntaf-anedig o Aifftiad, felly yr ydys yn awr yn Swpper yr Arglwydd, yn dangos marwolaeth yr Arglwydd hyd oni ddelo efe drachefn. Yn bedwerydd, fe gymmerai gŵr y tŷ ddwy dorth, gan dorri un o honynt yn ddau hanner, a'u dodi ar y dorth gyfan. Yna bendithio'r bara, ac wedi cymmeryd peth o hono, ei wlychu a'i fwytta, gan ddywedyd:—"Hwn ydyw y bara gofidiau a fwyttaodd ein tadau yn yr Aifft." Wedi hynny, fe fendithiai oen y pasc, ac a fwyttâi o hono ef a'r bwydydd eraill, a dyma'r pryd yr oedd y gymdeithas yn dechrau bwytta'r pasc yn briodol. Ar ol diolch am yr ymborth, fe fendithid ac fe yfid y drydedd gwppanaid. Y gwppanaid hon a elwid yn phïol y fendith, a honyma a gyssegrodd yr Iesu yn gwppan y cyfammod newydd, fel y cyssegrasai efe'r bara toredig yn goffadwriaeth am ei gorff drylliedig. Yn bummed, fe genid pedair o salmau, ac fe yfid y bedwaredd gwppanaid. Weithiau fe fyddid yn yfed cwppanaid arall, tra y byddid yn canu wyth o salmau, ond ni fyddid byth yn yfed chwaneg na phump.

Efallai y meddylia rhai o honoch nad oedd yr Iesu a'i ddiscyblion a'r holl Iddewon ddim hyd yn oed yn gymmedrolwyr chweithach yn ddirwestwyr wrth yfed cymmaint o win, yn enwedig mewn gwledd gyssegredig; eithr cofier mai gwin ydoedd, ac nid chwisci neu rhum neu

frandi a gwin cymmysgedig. Yr oeddent yn gwneuthur yn ol cyngor y gŵr doeth, yr hwn a ddywedodd :—"Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso'i liw yn y cwppan, pan ymgynhyrfo yn iawn." Yr oeddent yn gofalu am ei welwi a'i wanhau â dwfr. Er nad oedd yr Iddewon yn amser Crist ddim yn cadw'r Pasc fel y gorchmynasai Duw iddynt ei gadw, etto nid oedd yn wiw gan y Gwaredwr fyned yn erbyn arfer gyffredinol y genedl. Yr oedd efe yn parchu hên arferion, ac yn cydnabod hawl yr eglwys Iddewig i ymddadblygu ac i ymgyfaddasu i amgylchiadau newyddion. Nid oedd efe yn beio ar ddynion am adael heibio bethau y *gyfraith* os peidient â gadael heibio'r pethau trymaf, sef barn, trugaredd a ffydd. Cyffelyb ydyw'r Iesu y pryd hwn i'r hyn oedd efe y pryd hwnnw—y mae yn fanwl iawn yn y pethau mwyaf, ond yn oddefgar mewn pethau llai. Y mae efe yn *gorchymmyn* ini gofio am dano trwy dorri bara, yn gystal er ein mwyn ein hunain ag er ei fwyn yntau ; ac y mae'n awgrymu y byddai'n dda ganddo pe bâi ni yn ei gofio yn fynych yn y modd hwn ; ond ni fu'n wiw ganddo ddywedyd pa mor fynych. Yr oedd efe yn foddlon i'r Cristionogion cyntaf dorri bara bob dydd, ac yr oedd yn foddlon i Gristionogion diweddarach dorri bara bob wythnos. Y mae y gorchymmyn newydd yn fanwl o ran ei sylwedd a'i amcan, ond yn rhydd o ran ei amser a'i ddull. Eisiau ei gofio yn unig sydd ar yr Iesu. "Gwnewch hyn er coffa am danaf." Gwnewch pa beth? Gwnewch yr hyn yr ŵyf fi yn ei wneuthur—torrwch y bara, bendithiwch ef, a chyssegrwch ef ; yna rhennwch yn eich plith eich hunain, a bwyttewch ef ; yr un ffunud, yfwch bawb o'r cwppan. Y mae y ddefod yn syml, ond y mae ei hystyr yn ddirgeledig iawn. Pa ham bara mwy na rhywbeth bwyttadwy arall? Am mai efe ydyw'r bwyd rheitiaf. Pa ham gwin mwy na rhywbeth yfadwy arall?

Am mai gwaed y grawnwin ydyw'r ddïod fwyaf cyfaddas o ran ei lliw, ei rhinwedd a'i dylanwad i fod yn arwyddlun o waed y Groes. Ond nid yn hyn y mae y dirgelwch, eithr yn yr hyn a ddywed yr Iesu *am* y bara a'r gwin :—" Hwn yw fy nghorff; hwn yw fy ngwaed." Y mae yn beth anffodus iawn nad oes yn *Nghyffes Ffydd* y Methodistiaid nac yn yr *Hyfforddwr* chwaith ddim eglurhad ar yr ymadroddion hyn. Yn wir, ofer ydyw chwilio ynddynt am ddim goleuni ar natur Swpper yr Arglwydd na'r Bedydd. Y mae eu hawdwyr yn ysgoi pob anhawster, ac yn ymguddio mewn cwmmwl o eiriau amhennodol. O ran dim a ddywedant hwy fe all swyddog neu aelod Methodistaidd gredu y peth a fynno am y sacramentau. Y mae'n wir y ceir y gair "arwyddion" yn y ddau lyfryn, ac y gallai dŷn feddwl wrth hynny fod yr awdwyr yn cyd-farnu yn hytrach â'r Swingliaid nag â'r Catholigion a'r Lutheriaid ; eithr rhaid cofio fod duwinyddion yn rhoi i'r gair "arwydd" ystyr eglwysig a chyfreithiol, sef llythyr trosglwyddiad *(deed of conveyance)*, ac yn yr ystyr hwnnw ni byddai gan y Lutheriaid, nac Eglwys Loegr, nac Eglwys Rhufain, ddim i'w ddywedyd yn ei erbyn.

Gan fod yr attebion yn yr *Hyfforddwr* wedi eu cymmeryd allan o *Gatecism* a *Homiliau* Eglwys Loegr, fe allai rhywrai ddadlau mai barn Archesgob Cranmer ac Esgob Jewel am y Swpper ydyw'r farn a dderbynir gan y Methodistiaid ; ond gan mai y pethau mwyaf amhennodol a yscrifennodd yr Eglwyswyr hyn ynghylch y Swpper a ddygwyd i mewn i'r bedwaredd bennod ar ddeg o'r *Hyfforddwr*, ni fyddai'n ddiogel barnu ystyr yr ymadroddion a ddygwyd i mewn i'r bennod wrth yr ymadroddion mwy pennodol a adawyd allan o honi. Pe buasai'r Protestaniaid yn unfarn am yr ordinhad hon, y mae'n ddïau mai eu barn hwy a fuasai barn y Methodistiaid ;

ond ysywaeth, nid ydynt hwy yn unfarn. Er fod y Swpper wedi ei fwriadu i gyfuno Cristionogion, etto ascwrn cynnen ydyw er's cannoedd o flynyddoedd. Y mae yn drist darllen y llys-enwau a'r melldithion yr oedd Calvin a Luther a Zuinglius ac eraill yn eu taflu at eu gilydd wrth ymdrin â chorff a gwaed Crist; ond pa beth bynnag a feddyliom am eu crefydd a'u cymmeriad, yr oeddent yn ddynion pur alluog, a hwynt-hwy sy'n cynrychioli y gwahanol farnau sy'n ffynnu ym mhlith y Protestaniaid hyd heddyw. Fel yr awgrymais i, y mae yn anodd casclu beth ydyw barn y Cyfundeb Methodistaidd oddi wrth y *Gyffes Ffydd* a'r *Hyfforddwr;* ond a barnu wrth yr hyn a glywais i, mi allwn feddwl mai ychydig yn ein plith sy'n derbyn barn y Catholigion a'r Lutheriaid—fod cryn lawer yn derbyn barn Calvin, ond fod y rhan fwyaf o lawer yn derbyn barn Zuinglius, sef y farn fwyaf gwrthwyneb i farn Eglwys Rhufain. Er mwyn eich galluogi i farnu trosoch eich hunain, mi a roddaf i chwi yn fỳr y prif farnau sy'n rhannu y byd Cristionogol; a rhag imi, yn faleisus neu yn amryfus, wneyd cam âg un cyfundeb, mi a roddaf farn pob cyfundeb, hyd y gallaf, fel y'i ceir ynghredoau y cyfundeb ei hun, ac nid fel y'i ceir wedi ei gamliwio yn llyfrau dadleuol rhyw gyfundeb gelynol.

Y mae'n hyspys mai y farn hynaf a'r un fwyaf cyffredinol ydyw barn Eglwys Rhufain. Y mae yr eglwys hon yn cymmeryd yr ymadroddion "Hwn yw fy nghorff; hwn yw fy ngwaed," fel y maent yn eu hystyr grammadegol. Nid ydyw'r Protestaniaid dyscedicaf ddim yn gwadu nad ydyw'r geiriau yn goddef yr ystyr hwn. Dadleu y maent yn hytrach eu bod hwy yn goddef ystyr arall hefyd, ac fod yr ystyr hwnnw yn fwy rhesymmol. Nid yn erbyn atteb Eglwys Rhufain i'r gofyniad Pa beth? y mae y Protestan-

iaid yn dadlau yn gymmaint, eithr yn hytrach yn erbyn ei hatteb i'r gofyniad Pa fodd? Pa *fodd* y mae y bara yn gorff Crist? Pa *fodd* y mae y gwin yn waed Crist? Dywedyd y mae hi fod y bara, ar ol ei gyssegru, yn troi yn gorff Crist; a'r gwin, ar ol ei gyssegru, yn troi yn waed Crist. Nid y bara o ran ei liw a'i lun, ei faint, ei flas a'i arogl, ond ei sylwedd neu ei rinwedd. Nid y gwin yr ydys yn ei weled â'r llygad, ac yn ei archwaethu â'r genau, ac yn ei arogli â'r ffroenau, ond y peth hwnnw ynddo ag sydd yn maethu y neb a'i hyfo. Nid ydys yn honni fod y fendith neu'r cyssegriad yn cyfnewid dim ar bethau allanol a damweiniol yr elfenau: ond pa bethau bynnag sydd anhebgorol i'r elfenau—pa bethau bynnag sydd ynddynt na ellir mo'u diddymu, y mae y rheini, medd Eglwys Rhufain, yn ymnewid yn gorff a gwaed Crist. Y mae yn amlwg fod syniad Eglwys Rhufain am gorff ysprydol yr Arglwydd Iesu yn wahanol i'n syniad ni, ac ar y syniad hwnnw y mae hi'n seilio athrawiaeth y trawsylweddiad.

Y mae Martin Luther yr un ffunud yn synio na ddylid cyfyngu dynoliaeth yr Iesu i le neillduol. "Y mae Crist yn awr ar ddeheulaw Duw," ebe fe, "ac y mae deheulaw Duw ymhob man." Y mae yntau yn barnu fod gwir gorff a gwaed Crist yn cael eu cyfrannu *gyd* â'r elfennau i'r rhai sy'n eu derbyn, ond nid ydyw efe, fel y Catholigion, yn credu fod yr elfennau yn ymnewid dim. Y mae efe hefyd, fel y Catholigion, yn taeru mai ar y cyssegriad, ac nid ar ffydd y derbynwyr y mae presennoldeb corfforol Crist yn yr ordinhad yn dibynnu. Gwahaniaeth geiriol yn unig, ac nid sylweddol, sydd rhwng Luther ac Eglwys Rhufain yn y pwnc hwn. Ond os ychydig o wahaniaeth sy rhwng Luther ac Eglwys Rhufain, y mae gagendor mawr rhyngddo a'r Diwygiwr Zuinglius. Y mae hwn yn

dadlau mai coffadwriaeth yn unig am farwolaeth Crist ydyw'r Swpper, ac nad yw y bara a'r gwin yn ddim amgen nag arwyddluniau i ddwyn ar gôf ini gorff a gwaed Crist. Dyma farn yr Undodiaid, y Blaid Rydd yn Eglwys Loegr, a'r rhan fwyaf o'r blaid isel ynddi hefyd. Y hi hefyd ydyw barn yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr, a llawer o Ymneillduwyr eraill. Y mae Calvin yn sefyll yn y canol rhwng Luther a Zuinglius. Dyma'i eiriau ar y sacramentau yn gyffredinol:—"Er eu bod yn gôf-arwyddion, etto nid côf-arwyddion noethion a gweigion ydynt, ond y mae y gwirionedd a'r sylwedd yn gyssylltiedig â hwynt. Y maent nid yn unig yn arddangos gras, ond hefyd yn ei gyflwyno. Ni ddylid byth wahanu sylwedd y sacramentau oddi wrth y sacramentau eu hunain." Yr oedd yntau yn dyscu fod yr Arglwydd Iesu yn bresennol mewn modd gwirioneddol yn yr ordinhad, eithr mai yn ysprydol ac nid yn gnawdol y mae efe yn bresennol. Y mae efe hefyd yn dyscu fod pob cymmunwr ffyddiog yn derbyn Crist, ac fod y Crist hwnnw o'i dderbyn yn maethu yr enaid.

Barn Calvin oedd y farn fwyaf cyffredinol yn Eglwys Loegr hyd yn ddiweddar, a'i farn ef ydyw barn y rhan fwyaf o'r Uchel-Eglwyswyr etto; er hynny, y mae nifer fwy-fwy o'r blaid Eglwysig hon yn dadlau—ac yn dadlau'n gyfiawn hefyd, dybygaf i—fod Eglwys Loegr, a'i barnu wrth ei herthyglau a'i homiliau, yn myned ymhellach na Calvin, ynghyfeiriad Luther ac Eglwys Rhufain; canys y mae yn amlwg wrth y llyfrau hyn nad yw yn weddus nac yn gyfreithlon i neb aros yn weinidog yn Eglwys Loegr, os na bydd efe yn credu fod Crist yn bresennol yn y Swpper, nid yn unig yn ysprydol, fel y dywed Calvin, ond hefyd yn gorfforol. Y mae yn wir ei bod hi'n gofalu ar ddywedyd nad yw Crist ddim yn bresennol yn yr ordinhad·

mewn modd cnawdol, ond nid ydyw yn gwadu ei fod yno mewn modd corfforol; ac fe all presennoldeb corfforol fod lle na byddo presennoldeb cnawdol. Er dim a welais i, nid ydyw'r Lutheriaid na'r Catholigion chwaith ddim yn credu mewn presennoldeb cnawdol, o blegid ar y ffaith fod corff Crist yn ysprydoledig y maent yn seilio yr athrawiaeth a elwir yn drawsylweddiad a chydsylweddiad. Y mae Calvin yn gyffredin yn scrifennu yn olau iawn, ac yn ymffrostio yn ei fedr i wneyd hynny, ond y mae efe wrth scrifennu ar y sacramentau braidd yn niwliog. Y mae "presennoldeb ysprydol" yn swnio yn burion, ond pe gofynnech i bump o ddynion pa beth ydyw ystyr yr ymadrodd, odid na attebai un ei fod yn arwyddo fod yr Iesu yn bresennol trwy yr Yspryd Glân, a'r ail ei fod yn arwyddo fod yr Iesu yn bresennol trwy ei yspryd ei hun; y trydydd ei fod yn bresennol o ran ei Dduwdod; y pedwerydd ei fod yn bresennol o ran ei ddylanwad, ac odid na thaera'r pummed nad yw presennoldeb ysprydol yn ddim amgen nag ymadrodd cyfystyr â phresennoldeb dychmygol.

Y mae lle i ofni ein bod ni oll, wrth sôn am yr ordinhadau yn enwedig, yn rhy dueddol i dywyllu cyngor âg ymadroddion heb wybodaeth; neu o leiaf, i arfer ymadroddion nad ydym yn cyssylltu meddwl pennodol â hwynt. Er enghraifft, mor chwannog ydyw y rhai sy'n derbyn yr athrawiaeth Galvinaidd am y Swpper i barablu yr ymadrodd sathredig hwn:—"Ymborthi ar Grist." Ond cyn y gallant ddeall eu geiriau eu hunain, a disgwyl i eraill eu deall, y mae yn ofynol iddynt allu dywedyd pa beth y maent yn ei feddwl wrth Grist yn yr ymadrodd yna—ai corff Crist? ai yspryd Crist? ai Duwdod Crist? ai ynteu ei berson, yn Dduw ac yn ddŷn? Pa beth hefyd y maent yn ei feddwl wrth "*ymborthi* ar Grist?"

Ai credu ynddo? Os felly, pa wahaniaeth sy rhwng ymborthi arno yn y Swpper, ac ymborthi arno yn yr ordinhadau eraill? Ac os nad oes gwahaniaeth, i ba beth y mae y Swpper yn dda? Dyma ddigon i ddangos mai yr ymadroddion mwyaf cyffredin ydyw yr ymadroddion tywyllaf, fel rheol; ond gan eu bod yn gyffredin, yr ydym ni'n tybied eu bod mor olau a'r dydd. Dyma'r rheswm fod y gwrandawyr mwyaf pŵl eu meddwl yn tybied—yn *tybied* fod pregethwyr bach yn haws i'w deall na phregethwyr mawr. Y maent yn *gynnefin* âg ymadroddion sathredig pa mor dywyll bynnag y byddont, ac am hynny y maent yn gallu eu cofio a'u hadrodd, tra y mae ymadroddion golau yn dallu eu llygaid. Y mae Swingl, yn ei sylwadau ar Swpper yr Arglwydd, yn fwy syml a dealladwy nag un Protestaniad arall, ond y mae efe felly am ei fod yn yscoi pob anhawsder. Yn ei olwg ef, nid yw yr ymadroddion "Hwn yw fy nghorff, a hwn yw fy ngwaed" yn cynnwys un meddwl dyfnach na hyn:—"Dyged y bara hwn ar gôf i chwi ddarfod dryllio fy nghorff er eich mwyn. Dyged y gwin hwn ar gôf i chwi ddarfod tywallt fy ngwaed drosoch." Y mae efe, trwy esponiadaeth arwynebol, yn ceisio dangos mai ymadrodd meddal ddigon, ac nid ymadrodd caled ydyw'r ymadrodd hwn:—"Yn wir, yn wir meddaf i chwi, oni fwyttewch gnawd Mab y dŷn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes gennych fywyd ynoch." Ni allaf fi gredu y buasai'r Iesu yn arfer geiriau cryfion i draethu meddwl gwan. Os oes dirgelwch yn y *geiriau*, yna rhaid fod dirgelwch yn y meddwl sydd ynddynt, ac er na allwn ni mo'i amgyffred, y mae dyled arnom i'w gredu.

Bai pennaf y Lutheriaid a'r Catholigion ydyw hyn, sef eu bod hwy, yn fy marn i, yn rhoi mwy o fri ar gyssegriad yr elfennau nag ar ffydd y cymmunwyr. Er hynny, y maent yn rhoi mwy o le i ddynoliaeth Crist ac i gyrff y

saint nag un o'r pleidiau eraill. Yn ol y Calviniaid, maeth i'r enaid yn unig a geir yn y Swpper; ond y mae y Beibl yn dangos yn bur amlwg fod yn yr ordinhad hon ryw fendith i'r corff hefyd. Pa ham, tybed, y mae yr Iesu yn cyhoeddi dair gwaith yn yr un bregeth yr adgyfyd efe yn y dydd diweddaf y dŷn a fwyttao ei gnawd, ac a yfo ei waed ef? Onid am hyn, sef mai meithrin corff yr adgyfodiad yr ydys yn yr ordinhad? Os wyt ti'n bwytta'r Swpper mewn ffydd, y mae dy gorff newydd eisys yn egino, megis o dan dy gorff llygredig, ac yn y dydd diweddaf, efe a dardd o'r ddaear, ac a egyr ei flodau yn siriol i groesawu'r gŵr a barodd y cynnydd. Llindys o gorff, digon diymadferth, sy gennyt yn awr, ond y mae gloyn byw o'i fewn, a phan ddelo haf ar fyd, fe'i gwelir ef yn ymdorri allan, yn lledu ei adenydd amryliw, ac yn hedfan i baradwys Duw i ymddigrifo ynddi byth. Y mae Duw wrth fendithio'r bara a'r gwin, y creaduriaid hyn, yn y Swpper, yn proffwydo ar weithred y bydd iddo yn y man fendithio pob peth. Y mae efe wrth ddarparu moddion i fagu corff cymmwys i'th yspryd, yn rhagarwyddo ei fod yn bwriadu darparu creadigaeth gymmwys i'th gorff. Y mae yn rhoi ar ddeall ei fod ar fedr uno'r ysprydol a'r naturiol mewn glân briodas, yn y man. Y mae yn addo gwneyd nefoedd newydd a daear newydd—nefoedd mor debyg i'r ddaear, a daear mor debyg i'r nefoedd fel y bydd yn anodd gwybod p'run fydd p'run. Gofala, Gristion, am borthi dy *gorff* newydd, ac fe ofala Duw am ddarparu iddo greadigaeth newydd. Gofala am y *dyn* newydd, yn gorff ac yspryd, o blegid hwnnw ydyw dŷn y dyfodol.

Dyna ddigon ar gynnwys ac ystyr y gorchymmyn newydd. I ba amcan y rhoddwyd ef?—"fel y caroch eich gilydd." Beth bynnag a fo syniad dŷn am natur

Swpper yr Arglwydd, os bydd efe yn codi oddi wrth y bwrdd wedi ei alluogi i garu ei frodyr yn fwy nag o'r blaen, y mae hwnnw yn ymarferol wedi iawn farnu corff yr Arglwydd, wedi bwytta ac yfed yn deilwng, ac wedi derbyn bendith gan Dduw. Y mae i chwi groeso i ymofyn a ydwyf yn iach yn y ffydd Fethodistaidd wrth ymdrin â'r ordinhadau, ond mynnwch wybod yn gyntaf oll a ydych yn fy ngharu; a ydwyf yn eich caru chwi, ac a ydym oll yn caru'n gilydd? Waeth ini heb gredu yn gywir os na charwn ni'n fawr. I ba beth yr ordeiniodd yr Iesu swpper yn ei eglwys oddi eithr i ddwyn ei ddiscyblion yn nes at eu gilydd, ac i'w cyfuno mewn cariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd? Y mae'n wir fod ynddo fendith i ni'n hunain; ond fe attelir y fendith honno oddi wrthym os na phenderfynwn ni fod ein hunain yn fendith i eraill, ac nis gallwn fod yn fendith i eraill heb eu caru. Pan weddïodd Job dros ei gyfeillion y bendithiodd Duw ef yn ddau-ddyblyg. Gwyliwn rhag bod yn rhy hunangar wrth fwrdd yr Arglwydd, trwy edrych ar yr eiddom ein hunain yn fwy nag ar yr eiddo eraill, trwy geisio'n llesad ysprydol ein hunain, ac nid llesad llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig. Cofiwn fod y gorchymmyn newydd i gadw gwledd wedi ei roddi i ni yn bennaf fel y carom ein gilydd. A pha foddion cymhwysach i feithrin cariad brawdol na chyd-fwytta yr un bara, a chyd-yfed yr un gwin, o amgylch yr un bwrdd, a hynny er coffa am yr un person, a'n carodd ni oll fel ein gilydd? Onid yr un ydyw brawd hynaf pob un o honom? sef y cyntaf-anedig ymhlith brodyr lawer? Onid yr un Tad sydd ini? Onid y Gaersalem uchod ydyw'n mam ni oll? Er mwyn ein Tad, er mwyn ein mam, ac er mwyn ein brawd, ymlynwn ynghyd fel brodyr. Chwi a wyddoch y gelwid un o saith eglwys Asia yn Philadelphia—enw Groegaidd, yr hwn o'i gyfieithu ydyw "cariad brawdol,"

ac ni chanfu yr hwn y mae ei lygaid fel fflam dân ddim bai ar yr eglwys honno. O! na ellid cerfio ar y garreg sydd ar dalcen y capel newydd—"Philadelphia"—capel y cariad brawdol! Pe llenwid ein capelau â'r cariad hwn, ni byddai lle ynddynt i nemmor o bechodau.

Pa beth ydyw cynllun cariad brawdol; neu pa *fodd* y dylem garu'n gilydd? Dyma'r atteb, a chyfieithu yn gywir:—"Fel y cerais i chwi, felly y caroch chwithau bawb eich gilydd"—"fel y caroch eich gilydd â'r cyfryw gariad ag y cerais i chwi." Fe'n carodd yr Iesu ni nes ymwadu â'i gyfoeth, â'i ogoniant, ac â'i fwyniant—ïe, ac â'i fywyd; ac felly y dylem ninnau garu'n gilydd. "Ni fedraf i yn fy myw hoffi hwn a hwn, nac ymddiried ynddo chwaith—dŷn anhawddgar, twyllodrus, ydyw." Pwy sy'n gofyn iti ei hoffi, os ydyw yn anhawddgar; neu ymddiried ynddo, os ydyw yn dwyllodrus? Câr ef—câr ef fel y carodd Crist ei elynion—fel y carodd efe dydi. Gweddïa drosto, gwna dda iddo, bendithia ef, cyfarch well iddo. "Prin y medraf i wneyd cymmaint a hynyna i'm brodyr yn y ffydd," medd rhywun. Pa ham? "Onid oes cymmaint o heldrin gyda hwynt?" Hwyrach fod tippyn o heldrin gyda thithau, a bod gormod o heldrin gyda ni i gyd. Llawer o heldrin a gafodd yr Iesu gyda'i ddiscyblion; er hynny, efe a'u carodd hwynt hyd y diwedd, a thrwy farw drostynt y *cyfarfu* efe â'i ddiwedd. Nid oes neb yn ymollwng i garu, os na bydd o'n dibrisio'i hun, gan osod ei einioes mewn enbydrwydd. Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, o blegid dodi o hono ef ei einioes drosom ni, a ninnau a ddylem ddodi'n heinioes; hynny ydyw, fod yn barod i ddodi'n heinioes dros y brodyr.

Pa ryfedd fod y Cristion gorau yn myned i amau ei grefydd wrth edrych yngwyneb adnod galed o'r fath yma?

Mi fyddaf i'n maddau i hên bobol ysprydol a phrofedig fel Ioan y duwinydd am ddywedyd mor bendant eu bod hwy wedi eu hachub, am fod ganddynt hwy bob amser ryw *reswm* neu gilydd o dan yr haeriad. "Ni a wyddom," meddant, "ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegid ein bod yn caru'r brodyr, a hynny nid ar air, eithr mewn gweithred a gwirionedd." Wel, os na allwn ni oll ddywedyd fel Ioan, fe ddylai pob un o honom allu dywedyd fel apostol arall :—"Nid ŵyf yn bwrw ddarfod i mi gael gafael, ond yr ydwyf yn cyrchu at y nôd." Pa sawl un o'r cerrig milldir hyn a welsom ar ein gyrfa tua'r dragwyddol deyrnas?—ffydd, rhinwedd, gwybodaeth, cymmedrolder, amynedd, duwioldeb, caredigrwydd brawdol, cariad cyffredinol. Pa ham yr ydym yn ymdroi o hyd yn ymyl ffydd—cariad ydyw'r wyth milldir sydd i'r nef; ffydd ydyw'r filldir gyntaf. Pan y llwyddwn ni i garu eraill fel y carodd Crist ni, ni a allwn benderfynu ein bod am y pared â'r nef. Y mae hyn yn gysur ini, sef fod dŷn yn gwella mewn caru, fel ymhob peth arall, wrth ymarfer; Ymarfer dy hun i dduwioldeb, yn enwedig i'r ddyledswydd o garu fel y carodd yr Iesu. Ymarfer dy hun i fendithio pan y bydd arnat ti chwant melldithio. Ymarfer dy hun i wneuthur da i'th gymmydog pan y'th demtir i wneuthur drwg iddo. Ymarfer dy hun i weddio drosto pan y'th gynhyrfer i ddigio wrtho. Wrth redeg, onid ê, yr wyt ti yn dyscu rhedeg, ac wrth nofio yr wyt ti yn dyscu nofio; yr un ffunud, wrth garu y dysci di garu. Etto i gyd, rhaid iti fwytta i allu gwneyd pob peth, ac yn Swpper yr Arglwydd, ti a gei fara o'r nef i'w fwytta.

Os gorchmynir ini gymmuno er mwyn caru'n gilydd, a hynny fel y carodd Crist ni, er mwyn pa beth etto y dylem ni garu'n gilydd? Er mwyn hyn, sef fel y gwybyddo pawb mai discyblion i Grist ydym. Y mae i'r

cyfryw gariad ddylanwad ar y byd:—"Wrth hyn y gwybydd pawb mai discyblion i mi ydych." Fe fynnai'r Iesu ini garu mor amlwg fel y gwelo pobol ein cariad, ac fel y gwybyddont pwy a'n cynhyrfodd i garu. Cariad brawdol ydyw nôd y discyblion; am hynny y dywedai'r Paganiaid am danynt, cyn iddynt ymrannu yn bleidiau:—"Gwelwch fel y mae y Cristionogion hyn yn caru eu gilydd, a chyn barotted ydynt i farw dros eu gilydd." Y cariad hwn yn unig a wna Gristionogion yn un a chyttûn, a thrwy yr undeb a wneir gan gariad y mae Duw yn meddwl synnu ac argyhoeddi'r byd. Y mae cryn sôn am orchestion y cenhadon mewn gwledydd pellenig, ond y mae achos i ofni fod y gwaeddi yn fwy na'r gwaith. Y mae y dynion gan mwyaf yn burion, ac yn ddigon lliosog, ond nid ydynt yn un—nid ydynt yn meddwl yr un peth, nac yn synio yr un peth. Nid oes ganddynt yr un gobaith, yr un ffydd, yr un bedydd, a braidd y mae ganddynt yr un Arglwydd; ac am hynny y maent yn wan o flaen y gelyn cyffredin. Y mae masnachwyr Cristionogol yn dyscu mwy ganwaith o'r Paganiaid i feddwi nag y mae cenhadon Cristionogol yn eu dyscu i fyw yn dduwiol. Y mae mwy filwaith o baganiaid yn cael eu geni bob blwyddyn nag sy'n cael eu hail eni. "Y mae'r olwg yn dywyll iawn;" ydyw, ond hi a fu'n dywyllach. Nid ŵyf i ddim yn hên, ond yr ŵyf yn cofio amser pan oedd rhagfarnau sectol yn gryfach o lawer nag ydynt heddyw. Y mae'n wir fod yr Isel-Eglwyswyr yn parhau i weddïo yn erbyn y Butain Fawr, fel y maent yn dewis llysenwi Eglwys Rhufain, a'u bod yn eich annog chwithau bob dechrau blwyddyn i weddïo yr un peth â hwynt; ac y mae'n wir fod yr Ymneillduwyr yn llefain yn grochach nag erioed yn erbyn Eglwys Loegr, a bod aml sect Ymneillduol yn cenfigennu wrth y sect arall, ond y mae y twrw bellach yn fwy na'r taro. Y mae y cyfundebau yn nesàu

at eu gilydd yn ymarferol er ymdaeru ar air; ïe, tan ymdaeru. Y mae yr Ymneillduwyr yn debycach i'r Eglwyswyr, a'r Eglwyswyr yn debycach i'r Catholigion nag y buont erioed o'r blaen. Mi wn fod rhai o'r bobl hynaf yn arswydo rhag hyn, ac yn edrych arno fel arwydd o ddirywiad, ond yr ŵyf fi yn meddwl fod llaw yr Arglwydd yn y peth. Yr ŵyf fi wedi laru ar yr yspryd sectol sy'n crebachu'r Cymry, yn wladol ac yn grefyddol. Y mae yn dda gennyf weled arwyddion o undeb crefyddol mewn unrhyw gyfeiriad; ac os na fÿn y fam nesàu at y merched a'r ŵyrion, y mae yn dda gweled y rhein yn nesàu at y fam. Dymunwn heddwch Caersalem. Dymunwn lwyddiant eglwysig yn fwy na llwyddiant personol, a llwyddiant Cristionogaeth yn fwy na llwyddiant sect. Y mae llawer yn synnu na cheid adfywiad, ac na welid llwyddiant amlwg ar waith cenhadon mewn gwledydd tramor, ar ol ini gadw cyfres o gyfarfodydd gweddïo trwy y wlad. Nid ŵyf fi yn synnu dim, canys yr ydym yn gosod yr addewid o flaen yr ammod. Byddwn yn un yn gyntaf, ac yna ni a allwn ddisgwyl i'r byd gredu yn yr hwn yr ydym yn ei arddel yn Athro. *Dymunwn*—gweddïwn am undeb—undeb yn ein plith ein hunain, ac undeb rhwng yr holl ddiscyblion, dros yr holl ddaear, ac wed'yn ni a fyddwn ar dir i weddïo am lwyddiant.

Y mae yr Iesu *yn* gweddïo ar gael ohonom ein gwneuthur yn un, byth er noswaith y Swpper. A barhawn ni i ddirymmu ei weddi ef trwy aros mewn anghariad? Oni wyddom ni mai trwy garu o'r discyblion eu gilydd y gogoneddir yr Athro yngwydd y byd? Bychan o beth mewn cymhariaeth a fuasai'n gwaith yn caru neu'n peidio â charu, oni buasai'n bod ni trwy hynny yn amlygu neu ynte yn cymmylu gogoniant y Ceidwad. Y mae ar Grist ofn i'r byd feddwl na charodd efe ddim digon arnom ni.

os methwn ni â charu'n gilydd. Y mae enw da yr hwn a fu farw yn y chwareu. Os na allwn ni garu'n brodyr er eu mwyn eu hunain, carwn hwynt yNghrist, ac er mwyn Crist. Carwn hwynt felly fel y gwyppo pawb ein bod yn eu caru. Y mae barn y pawb yn bwysig; ïe, y mae barn y pawb yn gyfiawn. Fe ddaw y dydd pan y barna'r saint y byd, ond heddyw, y byd sy'n barnu'r saint. Nis gall y byd, y mae'n wir, ddim barnu *pwy* sy'n *saint* a phwy sy ddim, ond y mae ganddo fwy o allu na neb i farnu pwy sy *ddiscyblion* i'r Iesu a phwy sydd ddim. Nid oes neb wedi rhoi cymmaint o amser ag ef i gymharu â'u gilydd ddarlun yr Athro a darlun y discybl, ac am ei fod yn sefyll ymhell y mae o'n gallu gweled y lliwiau yn well. Yr ydwyf gan hynny yn appelio, yn enw pob discybl, at farn y pawb. Beth a dybygwch chwi am danom ni? Pwy y mae y bobl yn dywedyd fy mod i? Ai discybl yn ymdrechu gwneuthur ei wers ei hun, ai ynte pregethwr yn unig, yn byw ar *roddi* gwersi i eraill? Nis gofynaf i chwi a ydyw pob un o'r blaenoriaid eglwysig a'r blaenoriaid canu yn gofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da, ond a ydyw pob un o honynt mewn rhywbeth neu gilydd yn debyg i'r Iesu. A ydyw'r athro hwn mor ddidwyll ei enau a'r Athro mawr? A ydyw'r aelod acw yn rhodio megis y rhodiodd efe? Y mae y byd yn y capel *yma* yn rhy swil i atteb yn uchel, ond y mae o eisys yn ei feddwl wedi'n rhannu ni yn dri dosbarth—discyblion amlwg, discyblion cuddiedig, a rhai heb fod yn ddiscyblion o gwbwl; ac yr wyf fi'n casglu ddarfod plicio y rhein, o achos eu bod yn rhy anghariadus ac yn rhy falch.

Ni ddywedaf ddim i darfu discyblion cuddiedig, eithr discyblion amlwg sy'n hoff gan yr Iesu, oblegid y rheini sy'n dwyn gogoniant i'w enw. Ni raid iti ddim gwneyd arddanghosiad o'th gariad tuag at Dduw *na* dŷn, ond yn

sicr fe ddylai pawb wybod pa un a wyt ti yn caru ai peidio. Câr dy gymmydog—nid â'r *unrhyw* gariad, ond yn y fath *fodd* ag yr oeddet ti yn caru dy wraig, cyn ei phriodi—fel yr oeddet ti yn ei charu yn y dechrau, cyn ymhythau. Yr oedd yn well gennyt, y pryd hwnnw, liw nos na lliw dydd; llwybrau neillduedig a di-sathr na'r ffyrdd cyhoeddus: ac etto i gyd, yr oedd pawb yn gwybod dy fod yn caru. Gochelwch rhag gwneuthur eich elusen, neu'ch cyfiawnder yngŵydd dynion, er mwyn cael eich gweled ganddynt. Er hynny, llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr Hwn sydd yn y nefoedd. Gweithredwch fel y gwyppo pawb mai meibion i Dduw ydych. Cerwch fel y gwyppo pawb eich bod yn ddiscyblion i'r Iesu. O! na thystiolaethai'r byd am hwn a'r llall o honom:—"Yn wir, y mae hwn yn un o ddiscyblion Iesu o Nazareth, canys mi a'i gwelais gyd âg ef yn yr ardd. Y mae hwn hefyd yn un o honynt, canys y mae ei *lediaith* yn ei gyhuddo. Y mae ei wefusau yn dyferu cariad."

## XVI.

## CEISIO:—PA FODD? PA BETH? PA HAM?

"*Sef i'r rhai trwy barhau yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragwyddol.*"—RHUFEINIAID ii. 7.

ER darfod scrifennu yr epistol hwn i brofi mai o ras a thrwy ffydd, ac nid o haeddiant a thrwy weithredoedd y ddeddf y cyfiawnheir dŷn, etto yn nechrau yr epistol, y mae yr apostol yn rhoi cymmaint o bwys ar weithredoedd a'r Iddew mwyaf deddfol. Y mae yn rhoi ar ddeall nad yw Duw yn gwneuthur cam â neb nac yn dangos ffafr i neb, eithr ei fod yn ymddwyn tuag at ddynion fel y maent hwy yn ymddwyn tuag atto ef a thuag at eu gilydd; ïe, y mae yn y bennod hon yn dywedyd yn groew mai gwneuthurwyr y ddeddf a gyfiawnheir ger bron Duw. Yn ei olwg ef, ni bydd dydd digofaint ddim amgen na dydd dadguddiad "cyfiawn farn Duw, yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd." Y mae y ferf y mae efe yn ei harfer yn yr ymadrodd hwn yn rhoi ar ddeall fod bywyd tragwyddol yn *daledigaeth* am wneuthur da, yr un ffunud ag y mae digofaint yn daledigaeth am wneuthur drwg. Nid yw yr apostol yn *ceisio* cyssoni y syniadau Iddewaidd hyn â'i syniadau efengylaidd; ac nid oes un esponiwr na diwinydd, hyd y gwn i, wedi llwyddo i'w cyssoni mewn modd boddhaol i bawb. Ond nid yw hynny ddim yn profi nad ydynt yn gwbl gysson; canys y mae yn y byd anianol a'r byd ysprydol lawer o bethau cysson na ellir

ddim dangos eu cyssondeb, ac y mae llawer peth sydd yn ymwahanu yn ei frigau, yn ymgyfarfod yn ei foncyff. Yr oedd yr apostolion mor awyddus i draethu holl gyngor Duw fel yr oedd arnynt hwy lai o ofn cael eu cyhuddo o anghyssondeb nag sydd arnom ni. Yr oedd yn ddiogel ganddynt hwy mai mewn ymddangosiad yn unig y gall dau wirionedd fod yn anghyttunol â'u gilydd; ac am hynny ni phetrusai yr un apostol ddywedyd mewn un man mai gwneuthurwyr y ddeddf a gyfiawnheir, ac mewn man arall cyfagos na chyfiawnheir neb trwy weithredoedd y ddeddf; neu o ddywedyd mewn un man fod gwobr y Cristion o ras, ac mewn man arall fod Duw yn talu i bob un yn ol ei weithredoedd. Y mae rhai esponwyr yn haeru mai siarad yn rhydd, gan arfer ymadroddion diwinyddiaeth gyffredin ei genedl ac nid traethu ei farn ddiwinyddol ei hun, yr oedd yr apostol, wrth ddywedyd fod Duw yn cyfiawnhau ac yn barnu dŷn yn ol ei weithredoedd, ond y mae y cyfryw rai yn amddiffyn cyssondeb yr apostol trwy briodoli iddo rywbeth gwaeth nag anghyssondeb. Os darllenwn yr epistol hwn, neu unrhyw lyfr arall yn y Testament Newydd, yn ddiragfarn, fe welwn ei fod yn cydnabod dau fath o gyfiawnhad, sef cyfiawnhad trwy ffydd a chyfiawnhad trwy weithredoedd hefyd, a'i fod yn cydnabod dwy wobr, sef gwobr rasol a gwobr gyfiawn, yr hon am ei bod yn gyfiawn, a elwir yn daledigaeth a gwobrwy. Peth hawdd yw gwneuthur cyfundrefn gron y chysson yr olwg, trwy adael allan wirioneddau anghyfleus; y gamp ydyw gwneuthur cyfundrefn ddiwinyddol a gynnwyso bob gwirionedd. Gan fod pob gwirionedd neillduol yn ymgyfarfod mewn un gwirionedd cyffredinol, a bod y gwirionedd hwnnw yn Nuw, efe yn unig a all ganfod perthynas ac unoliaeth yr holl wirioneddau neillduol sydd yn ymddangos i ni ar wahân. Rhaid i ni, greaduriaid cibddall, dderbyn aml wirionedd na allwn ei

gyssoni yn gyfan-gwbl â gwirionedd arall. Gwnaeth Dr. Edwards lawer tuag at ostegu'r mân ddadleuon diwinyddol a fu yn Nghymru trwy ddangos nad yw Calviniaeth ac Arminiaeth ddim mwy anghysson â'u gilydd nag ydynt â hwynt-hwy eu hunain; canys y mae'r Calviniaid, wrth rybuddio, yn llefaru fel Arminiaid, a'r Arminiaid, wrth weddïo, yn llefaru fel Calviniaid. Er hynny, yn eu hanghyssondeb ymddangosiadol hwn y mae eu cyssondeb gwirioneddol.

Y mae y testyn a'r adnodau sydd ar ei ol yn gyssylltiedig â'r adnod sydd o flaen y testyn :—"Duw, yr hwn a dàl i bob un yn ol ei weithredoedd"—yr hwn a dâl fywyd tragwyddol i'r rhai sydd yn gwneuthur da, ac a dâl ddigofaint i'r rhai sydd yn gwneuthur drwg.

Y mae y testyn yn atteb tri gofyniad, sef :—Pa bethau y dylem eu ceisio? Pa fodd y dylem eu ceisio? a Pha ham y dylem eu ceisio? Ym mlaenaf, Pa *bethau* y dylem eu ceisio? Gogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth. Er fod yr efengyl yn condemnio uchelgais ac uchel-fryd, etto y mae hi yn gorchymmyn ini geisio'r pethau sydd uchod, sef y pethau sydd uwch na phethau y ddaear, am mai y rheini yn unig sy deilwng o'n bryd a'n hymgais. Fe wnaed dŷn yn uchel-frydig ac yn uchel-geisiol; a phob awydd a ddododd Duw yn natur dŷn, y mae ganddo ef ddarpariaeth i borthi yr awydd hwnnw. Ond buan iawn yr aeth pethau uchaf y byd hwn y pethau uchaf oll gan ddŷn; a chan fod pethau uchaf y byd yn bethau isel o'u cymharu â'r pethau sydd uchod, y mae ceisio'r pethau hynny yn crebachu ei enaid. Yn wir, fe ddywed yr Iesu fod y byd oll mor fach fel y mae dŷn yn colli ei enaid wrth ei ennill. Pan y mae yr apostol yn dywedyd "Na fydd uchel-fryd," y mae hynny yr un peth

a dywedyd, "Bydd uchel-fryd yn yr ystyr uchaf, trwy roddi dy serch ar bethau sydd uchod, ac nid ar bethau sydd ar y ddaear; o blegid y pethau sydd uchod ac nid y pethau sydd isod a leda dy enaid ac a gyflawna dy enaid." Y mae yn naturiol i ddŷn chwennychu a cheisio gogoniant ac anrhydedd, ond nid yw yn naturiol iddo geisio gogoniant ac anrhydedd llygredig yn lle gogoniant ac anrhydedd anllygredig. Mewn gwirionedd, isel-gais yw uchel-gais y dŷn anianol, ac isel-fryd yw ei uchel-fryd ef.

Gogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth ydyw y trioedd o bethau da y mae *dynion* da yn eu ceisio. Pa wahaniaeth sydd rhwng ceisio gogoniant a cheisio anrhydedd? Hyn, dybygaf fi:—Ewyllysio cael ei weled y mae y dŷn sydd yn ceisio gogoniant; ewyllysio cael ei barchu y mae y dŷn sydd yn ceisio anrhydedd. Y mae llawer yn chwennychu cael eu gweled hyd yn oed pe na baent yn cael eu parchu. Y mae yn fwy adgas gan y rhain fod yn guddiedig tra yn fyw na gorwedd yn farw yn y bedd; canys y mae y garreg sydd ar y bedd, er ei bod yn cuddio'r corff oddi wrth bawb, yn dangos yr enw i lawer. Y mae y rhain yn awyddus i ymddiscleirio, hyd yn oed â goleuni benthyg, er mwyn tynnu sylw pobl attynt eu hunain. Pan na fynno eraill eu gogoneddu, y maent rywfodd neu gilydd, yn mynnu gogoneddu eu hunain. Er mor hunanol yw pobl fach Prydain Fawr, y mae yn ddiau na buont hwythau erioed mor ymogoneddgar ag ydynt yn yr oes hon. Er nad yw y Prydeiniaid yn rhagori mewn dim un o'r celfau cain, etto yn y geifyddyd o hyspysebu ac o bregethu eu hunain, y maent yn ail i'r Iangciod, sef Americaniaid y Taleithiau Unedig. Hyd yn oed y'Nghymru fach, y mae yn rhaid nid yn unig wrth newyddiaduron gwladol a thaleithiol, ond hefyd wrth fân bapurau lleol i gyhoeddi symmudiadau mân enwogion

lleol; a rhaid i bob cyfundeb y'Nghymru gael newydd-iadur cyfundebol hefyd i roi cyfleustra i bregethwyr ieuaingc ymwthgar i gyhoeddi pa nifer o alwadau i eglwysi y maent wedi eu cael ac wedi eu gwrthod; pa sawl gwaith y buont yn gweinyddu mewn cyfarfod pregethu, mewn cyfarfod gwleidyddol, mewn cyfarfod llenyddol ac mewn cyfarfod tê, mewn priodas ac mewn claddedigaeth, a pha ddarlith newydd sy ganddynt y byddai yn werth i holl Gymru ei chlywed. Dïau fod y pethau hyn oll yn wrthun iawn, ond nid er mwyn gyrru chwerthin ar neb yr ŵyf yn eu dwyn ar gôf, eithr er mwyn dangos mor fawr ac mor fach yw dŷn—mor fawr ydyw yn ei awydd am ogoniant, ac mor fach ydyw yn ei ymgais i foddloni yr awydd hwnnw. Na feiwn ar neb am chwennychu cael ei weled, eithr am chwennychu cael ei weled gan ddynion; na feiwn ar neb am garu gogoniant; beiwn ef yn unig am garu gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw. Yr ydym oll fel ein gilydd, hyd ryw fesur, yn chwennychu rhyw fath o ogoniant; ac y mae y chwant cynhenid, naturiol hwn yn un o nodau ein mawr-edd. Y mae'r chwant sydd ynom am ogoniant yn arwydd ein bod wedi'n bwriadu i ogoniant, ac am ein bod ni yn gallu ei dderbyn y mae Duw yn gallu ei roddi ini. Y gogoniant sydd yn dyfod oddi wrth Dduw ydyw yr unig ogoniant sydd yn haeddu ei alw yn ogoniant, am fod hwn fel yr haul yn ymddiscleirio o hono ei hun, heb fod wedi derbyn ei ddiscleirdeb oddi wrth ddim arall. Nid yw'r gogoniant gorau sydd yn harddu meibion dynion ddim amgen nag adlewyrchiad gwan o ogoniant Duw. Am ogon-iant y byd, megis ei rwysc a'i rialtwch, ni ellir cyffelybu hwnnw i ogoniant y lloer chweithach i ogoniant yr haul; hudlewyn ydyw na ellir ei weled oddi eithr mewn tywyll-wch mawr; gwagedd ac oferedd ydyw nad yw yn wiw gan Dduw edrych arno. A ydych yn edmygu'r brenin ar ei

orsedd, neu'r pendragon ar ei farch ynghanol ei lu? Y mae y Goruchel a'r dyrchafedig Dduw yn chwerthin am ben y rhai sydd yn ymchwyddo ac yn torsythu o blegid eu bod yn eistedd ychydig o droedfeddi yn uwch na'u cyd-greaduriaid; nid yw efe yn malio am y plantos sy yn ceisio ei ddynwared ef yn ei awdurdod a'i arglwyddiaeth; y mae y rhain mewn rhyw ystyr yn rhy uchel iddo ef allu eu gweled—y dŷn sydd ar lawr y mae efe yn ei weled orau:—"Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystudd-iedig o yspryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair." "Efe," medd y Salmydd, "a edrych ar yr isel." Efe yn unig *sydd* yn edrych ar yr isel â llawenydd ac a hyfrydwch. Y fath dristwch sydd ambell waith yn dyfod ar ddŷn dinod wrth gerdded ar hyd prif heolydd Llundain, a gweled miloedd o bobl yn rhuthro heibio iddo, heb gymmeryd amser i sylwi arno, chweithach cyfarch gwell iddo. Yn nghanol ymwâsc y bobl, y mae yn teimlo yn fwy unig na phe buasai ynghanol anialwch, canys yn yr anialwch y mae yr adar a'r cwningod yn troi cil eu llygaid o leiaf ar bwy bynnag a elo heibio iddynt. Er hynny, gallai y dŷn isaf ei gyflwr, os yn isel ei yspryd hefyd, sefyll ar bont Llundain ar yr awr brysuraf o'r dydd, a dyrchafu ei olwg tua'r nef, a dywedyd, fel Hagar, "Ti, O! Dduw, wyt yn edrych arnaf fi."

Pan fydd y duwiol yn edrych allan trwy y ffenestr yn y nos, y mae yn gweled y wybren yn llawn llygaid, a phob llygad yn tremio yn siriol arno ef; a phan y bydd pelydrau cyntaf yr haul yn codi ei amrantau yn y bore, y mae efe yn tybygu fod Creawdr yr haul yn dywedyd wrtho, "Dydd da iti, fy mhlentyn, y mae yn dda gennyf dy weled." Fe deimlodd rhyw forwyn neu ryw hên wreigan cyn hir wrth godi dwfr o ffynnon mewn lle unig, fod Duw o'r nef yn edrych arni, ac am hynny hi alwodd y ffynnon honno o

hynny allan yn Beer-lachai-roi—yn ffynnon yr hwn sydd yn byw ac yn gweled. Y mae pob dŷn yn ewyllysio cael ei weled; ond y dŷn duwiol sydd yn ewyllysio cael ei weled gan Dduw yn fwy na chan neb arall. Wrth edrych ar ddýn y *mae* Duw yn ei ogoneddu. Yn llygaid a gwyneb Duw y mae ei ragorol ogoniant ef yn ymddangos; am hynny y mae y neb a geisio ei wyneb ef yn ceisio ei ogoniant. Pa beth a welir pan gaffo'r Cristion yn y byd arall yr holl ogoniant y mae yn ei geisio yn y byd hwn? Duw a dynion yn edrych ar eu gilydd yNghrist Iesu, ac yn ymddigrifo dros byth yn eu gilydd.

Ond nid yw ddigon gan bawb gael gogoniant, y maent yn ceisio anrhydedd hefyd. Nid ydynt foddlon ar dynnu sylw dynion; y maent yn awyddus i ennill eu parch hefyd. Y maent yn chwennychu byw nid yn unig yn llygaid eu cyd-ddynion, ond hefyd yn eu genau ac yn eu càlon. Gallant *fynnu* gogoniant gan y byd er ei waethaf, ond o'i wirfodd ac nid er ei waethaf y gallant gael anrhydedd ganddo; am hynny y mae llawer yn cael gogoniant heb gael anrhydedd. Yr oedd Napoleon Fawr yn cael gogoniant gan bob cenedl, ond gan ychydig heb law ei bobl ei hun yr oedd yn cael anrhydedd, am fod y ffordd yr oedd efe yn gwneuthur enw iddo ei hun yn ei wneuthur yn llai ei barch. Rhaid i ddŷn wrth fwy o allu i ennill gogoniant nag i ennill anrhydedd; ond y mae yn rhaid iddo wrth fwy o rinwedd i ennill anrhydedd nag i ennill gogoniant. Yn awr, y mae y rhan fwyaf yn chwennychu cael eu canmol nid yn unig am eu galluoedd ond hefyd am eu rhinweddau; ond wrth wneuthur barn dda a gair da y byd yn rheol eu hymddygiad ac yn ddiben eu hymddygiad, y maent yn peidio â bod yn rhinweddol iawn; canys nid er mwyn rhyngu bodd dynion y dylem wneuthur da, eithr er mwyn rhyngu bodd Duw, a rhyngu

bodd ein cydwybod ein hunain; canys os gwnawn dda er mwyn rhyngu bodd dynion, yr ydym mewn perygl i wneuthur drwg hefyd er mwyn rhyngu eu bodd. Yr ydym yn cael engreifftiau o hyn yma yn y dyddiau hyn:—Pan oeddid yn chwilio am achos i wneuthur rhyfel yn erbyn y Transvaal, yr oedd rhai o brif bregethwyr Lloegr yn condemnio y rhyfel mewn geiriau llym iawn; ond pan welsant fod y rhyfel yn gymmeradwy gan eu gwrandawyr, a bod efengyl tangnefedd yn anghymmeradwy ganddynt, fe droisant hwythau i gyfiawnhau y rhyfel; ac yn awr, meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr. Rhaid i'r pregethwyr sy'n chwennychu cael eu canmol gan y byd, a chael eu cyflog gan y byd, ymostwng i farn a theimlad y byd; hynny ydyw, rhaid iddynt ddilyn y byd ac nid ei arwain; rhaid iddynt gyfiawnhau yr hyn y mae y byd yn ei gyfiawnhau, a chondemnio yr hyn y mae yntau yn ei gondemnio. Y mae yn wir nad oes gan y byd ei hun ddim parch gwirioneddol i Gristionogion o'r fath yma, ond nid parch càlon y mae y rhai hyn yn ei geisio yn bennaf, eithr parch gwefus a pharch pocced. Y mae hyd yn oed y byd yn prisio ffyddlondeb, gwirionedd, cyfiawnder a charedigrwydd, ac agos bob rhinwedd naturiol a moesol a fyddo yn harddu y Cristion, ac am hynny y dywedir yn y Beibl y dylai efe feddu'r pethau hyn er mwyn cael gair da y rhai sydd oddi allan. Er hynny, nid yw y byd un amser yn gallu prisio yr hyn sydd ysprydol yn y Cristion, na phob amser yn gallu prisio yr hyn sy foesol ynddo chwaith. Er engraifft, nid yw dda ganddo wirionedd a chyfiawnder, pan y byddant yn myned yn ei erbyn ef ei hun, ac nid yw dda ganddo'r ffyddlondeb a'r caredigrwydd a ddangoser tuag at y rhai sydd elynion iddo ef. Fe ddengys hyn na ddylai y Cristion ddim cymmeryd barn y byd yn safon mewn pethau moesol, chweithach pethau ysprydol. Os mỳn dỳn fod yn berffaith, rhaid

iddo geisio cymmeradwyaeth bôd perffaith ; a Duw yn unig sy berffaith. Os da i ddŷn fod yn gymmeradwy gan y saint, y mae hynny am fod y saint yn debyg i Dduw.

Anrhydedd gan Dduw a ddylem ei geisio yn uniongyrchol ; i fod yn gymmeradwy ganddo ef y dylem ymorchestu ac ymegnïo ; ac os byddwn gymmeradwy gan ddynion wrth fod yn hoff gan Dduw, gorau oll. Ceisio anrhydedd gan Dduw ydyw yr unig uchel-gais sydd yn dyrchafu dŷn, ac yn tynnu allan ei holl adnoddau. A pha fodd y mae dŷn yn cael ei anrhydeddu ar y ddaear ac yn y nef? Trwy gael tystiolaeth ddarfod iddo ryngu bodd Duw. Yn ei gydwybod y mae y duwiol yn cael y dystiolaeth hon ar y ddaear. "A chennym dystiolaeth ein cydwybod," meddai yr apostol; a gwybydder fod tystiolaeth y saint yn adlais gwan o dystiolaeth Duw. Ond yn y dydd mawr diweddaf, fe ddywed y Barnwr yn uchel ac ar goedd yr hyn y mae yn awr yn ei ddywedyd yn ddistaw ynghydwybod y dŷn ei hun :—"Da, da iawn, *well done*, was da a ffyddlon." Pa beth yw canmoliaeth beirniaid bach y byd wrth ganmoliaeth y Barnwr mawr hwn? Dyma ichwi anrhydedd gwerth i'w geisio! Dyma ichwi nefoedd ddymunol, y Creawdr mawr yn tystiolaethu byth bythoedd fod y creadur bach wrth ei fodd ef, a'r creadur yn tystiolaethu fod y Creawdr wrth ei fodd yntau!

Wrth arfer yr ymadrodd "byth bythoedd," yr oeddwn yn rhoi ar ddeall nad yw gogoniant ac anrhydedd wedi'r cwbl ddim yn bethau digonol heb anllygredigaeth. Fe beidiai gogoniant ac anrhydedd â bod yn werthfawr pe na châi dŷn fyw byth i'w mwynhau. Y mae anllygredigaeth y *pethau* hyn ynglŷn wrth anllygredigaeth y person. Mewn ambell fan, y mae anllygredigaeth yn gyfystyr âg

anfarwoldeb, ond yma, y mae yn cynnwys anfarwoldeb, a rhywbeth chwaneg hefyd. Wrth geisio anllygredigaeth, nid ewyllysio na byddo marw y mae y duwiol, eithr ewyllysio nad ymlygro, na heneiddio. Nid chwennychu *bod* byth y mae efe, eithr chwennychu bod byth yn ieuangc; a gwyddoch mai'r ieuangc a all fwynhau gogoniant ac anrhydedd, a phob peth dymunol. I'r hên, y mae bwydydd yn llai blasus, lliwiau yn myned yn llai hudol, a seiniau yn myned yn llai swynol. "Pa faint yw dyddiau blynyddoedd fy einioes, fel yr elwn i fyny gyd â'r brenin i Gaersalem?" ebe Barsilai wrth Dafydd. "Mab pedwar ugain mlwydd ydwyf fi heddyw; a wn i ragoriaeth rhwng da a drwg? a ddichon dy was archwaethu yr hyn a fwyttâf, neu yr hyn a yfaf? a glywaf fi bellach lais cerddorion a cherddoresi?" Dïau fod afalau gwaed y bachgen cyn goched yr haf diweddaf ag oeddent un o'r hafau cyntaf yr ŵyf yn eu cofio; ond er nad ŵyf fi cyn hyned a Barsilai, etto nid yw yr olwg ar afal gwaed y bachgen yn cael cymmaint o effaith mwyach ar fy llygaid ac ar fy nannedd. Yr ŵyf yn credu fod llinos y mynydd yn canu cyn bereiddied y flwyddyn hon ag y byddai hi yn canu yn y blynyddoedd gynt; er hynny, ni byddaf fi mwyach yn anghofio fy mhrydau bwyd, ac yn anghofio pobpeth wrth ei chlywed yn canu. Y mae yn ddïau fod yr Alpau mor fawreddog, a'r llynnoedd sydd wrth eu traed mor dirion heddyw a phan y'u gwelais gyntaf erioed; er hynny, nid oes ynddynt gymmaint o swyn i'r dŷn ag oedd i'r glaslangc. Y mae y wawr a'r graen sydd ar bethau daear yn diflannu pan elo dŷn yn hên. Pan y bydd dynion wedi treulio holl flynyddoedd eu hieuengctid i geisio gogoniant ac anrhydedd daearol y bydd y rhan fwyaf o honynt yn llwyddo i ennill y pethau hynny; ac am hynny, pan gaffont hwy y pethau y maent yn eu ceisio, byddant wedi colli'r gallu i'w mwynhau;

hynny ydyw, i'w mwynhau gymmaint ag y buasent yn eu mwynhau yn nyddiau eu hieuengctid.

Yn awr, y mae Duw, wrth gynnyg i ddynion ogoniant ac anrhydedd nefol, yn cynnyg iddynt anllygredigaeth hefyd. Byddant yn anfarwol; ac am hynny byddant byw yn dragwyddol i fwynhau bendithion tragwyddol; mwy, byddant fyw yn anllygredig, heb waethygu, heb heneiddio. Byddant byw byth yn ieuangc ac yn iraidd; ac am hynny byddant yn gallu mwynhau daionus bethau y byd arall â holl nwyfiant ac â holl hyfrydwch pobl ieuaingc. Ieuengctid tragwyddol yw yr anllygredigaeth y mae Duw yn ei addo i'w bobl. Ond i gael yr anllygredigaeth hwn, rhaid i ddynion ei geisio. Rhaid iddynt geisio hyd yn oed anfarwoldeb, os mynnant ei gael; canys nid yw yr anfarwoldeb a gaffer heb ei geisio yn werth i'w alw yn anfarwoldeb. Rhaid ymestyn at adgyfodiad y meirw, cyn y gellir ei gyrhaeddyd, canys nid adgyfodiad gwirioneddol ydyw yr adgyfodiad nad yw i fywyd. I wneyd y pethau a fydd i bawb yn bethau gwerthfawr a dymunol i ni ein hunain, rhaid ini ymroddi i'w ceisio.

Yn ail, Pa *fodd* y dylem geisio gogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth? Trwy wneuthur da, neu yn hytrach trwy barhau yn gwneuthur da. Trwy wneuthur da yr ydym yn cymhwyso ein hunain i fwynhau y pethau hyn; canys y mae gwneuthur drwg yn ein hanghymmwyso i fwynhau bywyd a bendithion bywyd yn y byd hwn a'r byd a ddaw. Y mae yr hwn sydd yn gwneuthur drwg yn trysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, tra y mae y rhai sydd yn gwneuthur daioni ac yn ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod. Y mae

y rhain yn y byd hwn yn dechrau adeiladu'r nef y byddant byw ynddi yn y byd arall.

Er fod gwneuthur da yn beth anodd i'r holl saint ar amserau, etto nid oes dim arall y mae cyn hawdded i bawb o honynt ei wneuthur. Nid i bawb y rhoddwyd ymadrodd doethineb, ymadrodd gwybodaeth, dawn i wneuthur gwyrthiau, dawn i broffwydo, dawn i wahaniaethu ysprydoedd, dawn i lefaru â thafodau a dawn i gyfieithu tafodau; ond y mae Duw yn rhoddi dawn i wneuthur da i bawb. Yn nydd y farn fe ddisgwylia rhai gael eu gwobrwyo am broffwydo a gwneuthur gwyrthiau; ond fe ddywed y Barnwr wrthynt nad am weithredoedd rhyfeddol o'r fath yna y mae efe yn gwobrwyo, eithr am weithredoedd da cyffredin, megis rhoddi llymmaid o ddwfr oer i ddiscybl sychedig. Y mae yn wir mai gweithredoedd mân iawn yw y rhain; er hynny y mae llawer o weithredoedd mân yn gwneuthur mwy o swm nag ychydig o weithredoedd mawr, heb law eu bod yn well amlygiad o gymmeriad dŷn. Peth hawdd ydyw i ŵr goludog roddi cant neu fil o bunnau, ynghanol sŵn udgyrn, ar derfynau yr oesoedd, neu derfynau canrifoedd. Os mynnwn ei farnu yn ol ei weithredoedd, fel y mae Duw yn ei farnu, edrychwn a ydyw yn cyfrannu yn ol ei allu; a ydyw yn well ganddo gyfrannu yn ddirgel nag yn gyhoeddus, ac a ydyw yn cyfrannu yn wastadol. Cyfraniadau cysson sydd yn dangos orau fod yn *dda* gan ddŷn gyfrannu; ac os bydd dŷn yn cyfrannu yn ol ei allu yn wastadol, ni bydd gan hwnnw gymmaint i'w gyfrannu ar unwaith a'r dŷn sydd yn cyfrannu yn achlysurol. Nid yw rhodd fawr ambell un ddim ond tippyn bach o iawn am ugain mlynedd o fyw crintach.

Wedi'r cwbl, nid yw cyfrannu arian ond un ffordd o wneuthur da. Y mae dyled arnom gyfrannu o ba beth

bynnag a fo gennym—o'n hamser, o'n doethineb, o'n gwybodaeth, o'n cydymdeimlad ; ïe, rhaid ini roddi ein hunain hefyd i wasanaeth Duw a gwasanaeth dŷn. Rhaid ini wneuthur pob rhyw dda a'r a allom ; ac yn ben ar y cwbl, rhaid ini barhau yn gwneuthur da ; o blegid dyfalwch sydd yn dangos fod dŷn wedi cael blas ar ei waith, ac y bydd iddo orphen ei waith. Am ei ddaioni a'i ddyfalwch y canmolir pob Cristion yn nydd y farn, pa un bynnag a fyddo ai cyfoethog ai tlawd, ai dawnus ai diddawn, ai dyscedig ai annyscedig. "Da was, da a ffyddlon," a ddywed y Barnwr wrth bob un. Y mae efe wedi ordeinio i'w ddiscyblion geisio bri trwy ragori mewn rhinweddau y gall pawb ragori ynddynt. Y mae gan bobl y byd lawer ffordd i geisio gogoniant ac anrhydedd ac anfarwoldeb daearol ; ond un ffordd sy gan y saint i geisio gogoniant ac anrhydedd ac anfarwoldeb nefol, sef trwy barhau yn gwneuthur da.

Yn drydydd, *Pa ham* y dylem geisio'r pethau hyn? Am fod yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd yn addaw ini fywyd tragwyddol. Pa bethau y mae bywyd tragwyddol yn eu cynnwys? Y mae yn cynnwys pob peth sy dda a dymunol—yn cynnwys y pethau y mae y saint yn eu ceisio, sef gogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth, ac yn cynnwys pethau eraill nad ydynt yn eu ceisio ; canys y mae ynghadw yn y nefoedd i chwi sydd yn saint lawer o bethau na fynegwyd am danynt, ac nad oes enwau arnynt. "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i gàlon dŷn y pethau—y *pethau* a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." Nid oes gan yr apostol enw manylach arnynt na "pethau"—gair bach hylaw, sydd yn was pob swydd, ac yn atteb yr un diben a "bethma" Cadi Rondol—"y pethau." Er hynny, y mae yn well gen i yr enw lliosog "pethau"

hefyd, na'r enw unigol "peth," am fod ynddo ef sŵn helaethrwydd ac amrywiaeth. Y mae yr apostol ei hun yn y ddegfed adnod yn enwi un peth nad yw yn ei enwi yn y testyn—tangnefedd. "Gogoniant ac anrhydedd a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni;" ac y mae wrth ddywedyd y bydd trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg, yn rhoi ar ddeall y bydd llawenydd a hyfrydwch i bob un sydd yn gwneuthur da. Y mae y pethau a enwir ac a awgrymmir, ynghyd â phethau na enwir monynt, oll yn gynnwysedig yn y bywyd tragwyddol.

Bywyd tragwyddol—bywyd annherfynol, ym mhob cyfeiriad. Y mae hwn yn fywyd sydd nid yn unig yn fawr ei hyd, ond hefyd yn fawr ei led, yn fawr ei uchder, ac yn fawr ei ddyfnder. "Myfi," medd yr Iesu, "a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaeth;" neu yn ol cyfieithiad arall, "fel y caent eu gwala a'u gweddill o hono." Ac meddai yr apostol wrth Timotheus, "Gorchymmyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fel y caffont afael ar y bywyd sy fywyd yn wir." Ni byddai y bywyd a ddyry Duw ddim yn fywyd tragwyddol oni bâi ei fod yn fywyd gwir ac yn fywyd llawn. Y mae yn fywyd a pharhad iddo am ei fod yn fywyd a gwerth iddo. Yn awr, pwy o honom a faidd ddywedyd fod y bywyd y mae yn ei fyw yn awr yn fywyd gwir a llawn, ac felly yn fywyd cwbl ddedwydd? Pwy a ddywed ddarfod iddo gyflawni ei holl amcanion a llwyddo yn ei holl ymdrechion, a darfod iddo gael pob peth a ddymunodd, pob peth a ddisgwyliodd, a phob peth a geisiodd? Pwy a all edrych yn ol heb deimlo yn siommedig, ac heb deimlo dim gofid, ac edrych yn mlaen heb deimlo dim pryder, nac am dano ei hun nac am y rhai sydd anwyl ganddo? Pwy a yfodd

ddyfroedd Elim heb yfed dyfroedd Marah hefyd, neu pwy a gafodd y melus heb y chwerw? Pa ŵr deng mlwydd a thrigain oed a ddywed y bu'r deng mlynedd a thrigain hynny yn llawn ac yn gyforiog o wir fywyd? Oni ddywed efe yn hytrach ei fod yn dechrau marw wrth ddechrau byw—fod ei fabandod yn marw yn ei febyd, fod ei febyd yn marw yn ei ieuengctid, a'i ieuengctid yn marw yn ei henaint—ei fod beunydd yn marw? Os ennillodd efe'r ddoethineb a'r pwyll a'r profiad a berthyn i hên bobl, fe ennillodd hynny ar draul colli yr yni, y bywiogrwydd a'r sirioldeb a berthyn i bobl ieuaingc. Er iddo gael oes faith ei hun, etto fe gafodd achos i alaru am farwolaeth rhai eraill; ac os bu efe ei hun yn iach, bu rhai o'i deulu yn afiach, a bu hynny yn flinder iddo. "Dŷn a aned i flinder, fel yr eheda gwreichionen i fyny." Er fod yn well ganddo fyw na marw; er ei fod yn dygymmod â bywyd yn bur dda, etto nid yw yn ei fwynhau yn ddiball ac yn ddibaid; a pha fodd y dichon iddo wneyd hynny, ac yntau yn fywyd mor ammherffaith, mor siommedig, mor ansicr ac mor fŷr? Onid yw gweled yr Angau glas yn ymrithio yn y pellder, ynddo ei hun yn ddigon i hanner ddyfetha y bywyd gorau? Oni byddai yn fwy trist gennym feddwl am adael byd da nag am adael byd drwg? Boed bywyd dŷn ar y ddaear y peth y bo, y mae ynddo rywbeth i beri blinder i'w feddwl; ac yn wir, po tyneraf y bo càlon dŷn, mwyaf oll y mae hwnnw yn ymboeni o blegid drygioni a thrueni dynion eraill.

Ond er mai i flinder y ganwyd dŷn—er mai blinder yn bennaf yw ei ran yn y byd yma, etto nid i flinder y crewyd ef, eithr i ddedwyddwch. Yn wir, y mae harddwch y ddaear a harddwch y nen sydd uwch ei phen, caredigrwydd cyfeillion a gwasanaethgarwch anifeiliaid, a llawer peth arall, yn dangos fod y Creawdr wedi bwriadu

gwneuthur dŷn yn ddedwydd, hyd yn oed ar y ddaear. Oni buasai fod y Beibl yn dywedyd fod y ddaear yn felldigedig o achos dŷn, mi ddywedaswn i mai daear fendigedig ydyw yr hên ddaear etto. Mi dybygwn i, ei bod fel y mae hi, yn ddigon da i'r dŷn gorau, a'i bod yn rhy dda o lawer i bechadur. Mi fyddaf fi yn synnu weithiau fod y Brenin mawr yn cadw cartref mor wych i denantiaid mor ddi-rôl. Od oes i *ni*, bechaduriaid, etifeddiaeth mor deg, pa faint teccach a fydd etifeddiaeth y saint yn y goleuni? Os dymunol yw byw ar y ddaear, pa faint mwy dymunol a fydd byw yn y nef? Dyweder y da a fynner am y ddaear, y mae yr amser yn dyfod pan heneiddia hi fel dilledyn. Byddwn ni, ei phlant, yn bod ar ol ei marw hi; a pheth ofnadwy a fydd bod yn y byd tragwyddol heb fyw. I fyw, sef i fod yn ddedwydd y creodd Duw nyni; ac y mae pob enaid deffroedig wedi gweddïo lawer gwaith:—

"Dyro afael ar y bywyd,
Bywyd yw fy nghri o hyd."

Ac ar ol cael y bywyd a ddaeth iddo trwy undeb â Mab Duw, y mae ambell un yn gallu canu hyd yn oed yn y byd hwn, gan ddywedyd:—

"Y bywyd 'rwyf yn awr yn fyw
Sy'n llawn happusrwydd o bob rhyw."

Wedi'r cwbl, nid oes gan y cyfryw un ddim syniad am y bywyd llawn a geiff efe yn y byd arall. Yno y gŵyr efe yn iawn pa beth ydyw byw. Yn awyr tragwyddoldeb, a than haul y nef y tŷf y bywyd ysprydol hwn i'w lawn faint. Bydd gan y dŷn ei hun enaid mwy yno nag sy ganddo yma, a chymmwysach corff nag sy ganddo yn awr. Yma, nid oes ganddo lygaid i weled cyn belled ag ambell aderyn, na chlustiau i glywed seiniau mor isel ag sy gan

ambell bryfyn. A phe bâi y synhwyrau sy ganddo filwaith gwell nag ydynt ni thalant hwy ddim i weled Duw ac i weled y Mab megis ag y mae, ac i glywed lleisiau distaw meinion y byd ysprydol. Rhaid iddo wrth synhwyrau *newyddion*, os priodol eu galw yn synhwyrau, i adnabod gwrthrychau byd sydd mor wahanol i'r byd hwn. Er mwyn hyn y rhoddir iddo gorff *ysprydol* yn lle corff anianol. "Ni ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw;" hynny ydyw, ni ddichon corff o gnawd fwynhau y byd nefol; am hynny fe drenga'r corff hwn yn dragywydd. Bydd dinistr pob rhan o'r corff matterol, daearol, yn ddinistr llwyr a bythol. Syniad Phariseaidd a fenthyciwyd gan yr Eifftiaid yw'r dychymmyg mai yr hên gorff wedi ei adnewyddu a fydd corff yr adgyfodiad. Y mae'r Testament Newydd yn dyscu ini rywbeth mwy rhesymmol na hynny. Y mae yn wir y bydd rhyw berthynas rhwng y corff ysprydol a'r corff anianol—cymmaint o berthynas ag sy rhwng yr hedyn yr ydys yn ei hau a'r llysieuyn sydd yn tarddu o hono; ond fel y mae'r llysieuyn yn gwbl annhebyg i'r hedyn, felly y bydd y corff a adgyfodir yn gwbl annhebyg i'r corff a gleddir. Nid adferu yr hên gorff a wna Duw, eithr ei newid yn hollol. Gyd â chorff newydd, wedi ei roddi gan Dduw, fel y mŷn efe, gall dŷn *weled* Duw mewn modd na ellir ei weled yn awr. A gweled Duw, megis wyneb yn wyneb, a wna ddŷn yn berffaith ddedwydd. Bydd y gweled hwn yn adnabyddiaeth, a'r adnabyddiaeth yn fywyd tragwyddol. "Hyn yw y bywyd tragwyddol, iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Adnabod trwy garu a fydd yr adnabod hwn; canys "yr hwn nid yw yn caru nid adnabu Dduw." Caru Duw yn well yn y byd arall a fydd y wobr am ei garu cystal ag y gellir yn y byd hwn. Ei weled ef wyneb yn wyneb fydd y wobr am edrych arno yr awr hon mewn drych. Ei

adnabod ef megis y'n hadwaenir ganddo, sef ei adnabod yn berffaith, a fydd y wobr am ei adnabod yn awr o ran.

Chwychwi, y rhai pur o gàlon, fe welwch chwi Dduw yn y man; fe'i gwelwch nid yn unig *yn* eich càlon, yn adlewyrchu megis ar wydr gloew eich càlon, fel yr ydych yn ei weled yn awr; eithr fe'i gwelwch wyneb yn wyneb. Cewch weled mwy na'i wyneb—fe'i hadnabyddwch—fe'i gwelwch drwyddo, hyd i'w gàlon. Fe'i hadnabyddwch *megis* y mae efe yn eich adwaen chwi. *Hyn* yw y bywyd tragwyddol; hyn fydd y wobr am barhau yn gwneuthur da a cheisio'r pethau sydd uchod. A ydyw'r bywyd hwn yn fywyd digon da gennych? A ydyw yn peidio â bod yn rhy dda gennych? Onid oes achos i ofni fod y wobr yr ŵyf fi yn sôn am dani yn rhy ysprydol gan rai o honoch i'w chwennychu? eich bod, fel yr Israeliaid anianol, yn diystyru manna Duw, ac yn blysio'r cucummerau, y pompiynau, y cenin a'r winwyn? eich bod yn diystyru y bywyd tragwyddol, swm a sylwedd gwir ddedwyddwch, ac yn chwennychu coronau a theyrnwiail a thelynau a phalmwydd, a rhyw deganau felly: canys teganau plant yw'r pethau hyn i'r rhai sydd yn eu deall yn blentynnaidd. Pa fri bynnag a feddylir wrth goronau a gorseddfeingciau, y bywyd a fydd *yn* y saint, ac nid dim bri a rodder *arnynt* oddi allan, a'u gwna hwynt yn ddedwydd. Fel y dylem geisio gwir ogoniant, a gwir anrhydedd a gwir anfarwoldeb, felly y dylem chwennychu yr unig wir wobr, sef bywyd tragwyddol; canys trwy fyw y bywyd uchaf y gallwn fwynhau y dedwyddwch uchaf, yn y byd hwn a'r byd a ddaw.

*Ebrill 29ain, 1900.*

## XVII.

## CREFYDD YN UFUDD-DOD.

"*Ond i Dduw y bo y diolch, eich bod chwi gynt yn weision i bechod; eithr ufuddhâu o honoch o'r gàlon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi.*"—RHUF. vi. 17.

ER fod yr adnod hon wedi ei scrifennu yn chwithig, ac felly yn aneglur, etto y mae yn hawdd i bawb ddyfalu mai hyn ydyw ei hystyr :—"I Dduw y bo'r diolch eich bod chwi y rhai oeddych gynt yn weision pechod wedi ufuddhau o'r gàlon." Eithr wedi ufuddhau i ba beth? "I'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi," meddir yn y cyfieithiad cyffredin, ond ar ymyl y ddalen fe gynnygir cyfieithiad gwahanol, sef hwn :—"I'r ffurf o athrawiaeth y'ch traddodwyd *iddi;*" a hwn ydyw'r cyfieithiad mwyaf cymmeradwy gan y rhan fwyaf o'r esponwyr. Y syniad ydyw fod y Rhufeiniaid crediniol, fel rhyw fettel toddedig, wedi eu bwrw i fold, a bod y fold honno wedi gosod ei ffurf ei hun arnynt. Hwy a ufuddhasant i ffurf yr athrawiaeth trwy *ymgyfaddasu* i'r ffurf honno. Y mae y gair a gyfieithiwyd yma yn ffurf wedi ei gyfieithu mewn mannau eraill yn *rheol.* A pha ham y mae yr apostol yn sôn am ffurf neu reol yr athrawiaeth? Er mwyn rhoi ar ddeall fod yr efengyl nid yn unig yn drefn gras, ond hefyd yn gyfraith, ag iddi orchmynion a chyfarwyddiadau. Yn wir, y mae ufudd-dod i'r ffurf o athrawiaeth yn yr adnod hon yr un peth ag ufudd-dod i gyfiawnder yn yr adnod flaenorol, ac y mae y rhai sy'n *ufuddhau* i'r ffurf o athrawiaeth yr un rhai a "gweision cyfiawnder" yn yr adnod

ddilynol; ac fe'u gelwir hwy yn weision cyfiawnder am eu bod yn rhwymedig i wneuthur y cyfiawnder helaethach y mae cyfraith Crist yn ei ofyn. Ni pheidiasant â bod yn weision i gyfiawnder pan aethant yn etifeddion gras.

Yn y testyn y mae credu yNghrist, dilyn Crist, a phob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb yn gynnwysedig yn y gair "ufudd-dod." A dyma'r gwirionedd y dymunwn ei argraffu arnaf fy hun ac arnoch chwithau, sef mai ufudd-dod ydyw crefydd o'i dechrau i'w diwedd. Pa fath ufudd-dod ydyw ufudd-dod Cristionogol? Ym mlaenaf, Ufudd-dod *o'r* gàlon. Yn ail, Ufudd-dod *i* ffurf. Rhaid iddo fod yn ufudd-dod calonog, *ac* yn ufudd-dod ffurfiol.

*Yn gyntaf, Ufudd-dod o'r gàlon.* Ychydig a raid ei ddywedyd i egluro, a llai fyth i gadarnhau y pen yma, am fod Protestaniaid mor barod i gyttuno â'r peth blaenaf a ddywedwyd am ufudd-dod, ag ydyw'r Catholigion i gyttuno â'r peth olaf. Y mae yn amlwg na ddichon ufudd-dod ddim bod yn gywir o ran ei fath nac yn gyflawn o ran ei faint, os na bydd yn dyfod o'r gàlon. "Cadw dy gàlon yn dra diesceulus," medd Solomon, "canys allan o honi y mae bywyd yn dyfod." Nid oes dim bywyd mewn ufudd-dod nad ydyw yn dyfod o'r gàlon; ac os nad oes gwres bywyd ynddo, pa werth a all fod ynddo? A hyd yn oed pe bae ufudd-dod yn dda ei ansawdd, nis gall efe ddim bod yn berffaith, os na bydd o'n dyfod o'r gàlon; canys y hi sy'n ddigon llygadog i ganfod yr *holl* ddyledswyddau y dylai dŷn eu gwneuthur, a chanddi hi yn unig y mae dawn i *ddychmygu* daioni. Rhan o ddŷn sydd yn ei ddealltwriaeth, a rhan o hono sydd yn ei gydwybod hefyd, ond y mae y dŷn i gyd yn ei gàlon; am hynny, os na bydd càlon dŷn yn ei waith, ni bydd y dŷn ei hun ynddo chwaith. Y mae modd i

ddŷn ufuddhau, nid o gariad ar Dduw nac ar ddŷn, eithr o gydwybod. Y mae gan lawer o grefyddwyr ddigon o gydwybod i'w hattal rhag gwneyd cymmaint o ddrwg ag a *fynnent* ei wneyd, eithr heb ddigon o gariad i'w cymmell i wneyd cymmaint o dda ag a *ddylent* ei wneyd. Crefyddwyr hannerog ydyw y rhain, canys Duw y maent yn ei ofni, ond Mammon y maent yn ei garu. Pechaduriaid cymmedrol ydynt, canys pan y dywed Duw wrthynt, "Na cherwch y byd na'r pethau sydd yn y byd," y maent hwythau yn dywedyd wrthynt eu hunain, "Na charwn ormod ar y byd a'i bethau." Byddwn yn gybyddion cymmedrol. Bydded ein huchel-gais yn weddol, a'n hunan-garwch yn ganolig. Na fyddwn yn *rhy* gyfiawn rhag dyfetha—rhag colledu'n hunain. Na fyddwn yn *rhy* annuwiol chwaith rhag inni farw cyn ein hamser. Y mae y rhain yn cyfri'r dŷn a elo ymhellach na hwynt-hwy ynghyfeiriad y byd yn anghrefyddol, ac yn cyfri'r dŷn nad elo cyn belled, yn *goel*-grefyddol—yn Pharisëaidd. Hwynt-hwy yw y rhai truenusaf o bawb, canys nid ydynt yn cael dim mwyniant mewn crefydd, na nemmor o fwyniant mewn pechod chwaith. Y mae eu cydwybod yn gadael iddynt fyn'd yn bur bell oddi wrth Dduw; ond pan gyrhaeddant ryw bwynt pennodol, y mae y *gydwybod* yn y fan honno yn troi yn llwfr. Y maent, er ewyllysio, yn methu â myn'd o ŵydd Duw; a chan eu bod o hyd ynghyrraedd tafliad ei olygon ef, y mae yn anodd iddynt ymddigrifo mewn pechod.

Y mae cydwybod yn gwneyd anufuddhau yn beth anodd; er hynny, nid ydyw hi ddim yn gwneyd ufuddhau yn beth hawdd. Cariad yn unig all wneyd hynny. "Ffordd dy orchmmynion a redaf," medd y Salmydd, "pan ëangech fy nghàlon," a chariad sy'n ëhangu'r gàlon. Cloffi dŷn ar ei ffordd tuag uffern y mae cydwybod, ond

sicrhei dŷn ar ei ffordd tua'r nef y mae cariad. Ei orchmynion ef nid ydynt drymion i'r rhai y mae cariad wedi eu gwneyd yn gryfion. Chwi a wyddoch mai ar sylweddau nad oes dim awyr *ynddynt* y mae'r awyr sydd oddi allan yn pwyso yn drwm. Yr un ffunud, baich gorthrymmol ydyw cyfraith Crist i'r dŷn nad ydyw yspryd y gyfraith, sef cariad, o'i fewn ef. Gan fod cariad yn gryf ac yn ewyllysgar, gofyn y mae efe :—Pa beth a fynni di i mi ei wneuthur? Ond gofyn y mae cydwybod :—Pa beth a oddefir imi ei adael heb ei wneuthur? Nid yw cydwybod yn ewyllysio gwneuthur anghyfiawnder, ond cariad sy'n ewyllysio gwneuthur cyfiawnder ; a rhag ofn gwneyd llai nag sydd ddyledus, y mae efe yn gwneyd mwy nag sydd ddyledus. Nid yw cariad yn gwneuthur yn anweddaidd chwaith. A'r cyfreithlon yn unig y mae a wnelo cydwybod, ond y mae cariad mor lednais fel y mae yn ymofyn pa beth sydd weddus a pha beth sydd fuddiol. Os bydd dŷn, ar ol ymarfer â phethau sydd ynddynt eu hunain yn gyfreithlon, yn methu â symmud yn hwylus i diriogaeth crefydd ; os bydd efe yn teimlo na nerthwyd mono trwy yr ymarfer hwnnw i ymroi yn fwy egnïol i waith crefyddol ; os bydd efe yn diflasu yn y mesur lleiaf ar ddarllen a gweddïo, ac yn hawddach ganddo esceuluso moddion gras, y mae argoel golau iddo fod rhyw bethau cyfreithlon wedi myn'd iddo ef beth bynnag yn anfuddiol, ac fod dyled arno gan hynny i'w bwrw hwynt heibio yn yn ddiymdroi hyd yn oed pe baent mor anwyl ganddo, ac mor fanteisiol iddo yn y byd hwn ag ydyw ei lygad de, a'i fraich dde. Nid dyledswydd ag y byddai'n wiw i ddŷn ei gwneyd ydyw hon, eithr dyledswydd ag y mae'n *rhaid* iddo ei gwneyd, os ydyw yn meddwl myned i'r bywyd. Pa ham y mae y ddyledswydd hon a dyledswyddau eraill yn ymddangos mor anodd ; ïe, mor afresymmol i'r cyffredin? Am nad ydynt wedi ufuddhau

o'r *gàlon* i'r efengyl. Y mae'r fold yn gron, a hwythau'n galed ac yn onglog. Pe baent wedi eu toddi gan gariad, hwy a aent iddi, ac a orweddent ynddi mor esmwyth a hylif mewn llestr.

*Yn ail, y mae ufudd-dod Cristionogol yn ufudd-dod i ffurf.* Y mae llawer yn anghofio hyn, a rhai yn dewis gwadu'r gwirionedd, gan eu bod yn taeru mai ffurfioldeb a deddfoldeb ydyw ufudd-dod i ffurf neu reol ; ond y mae fod crefydd yn ufudd-dod ynddo'i hun yn profi y rhaid fod yr ufudd-dod hwnnw yn ufudd-dod i ffurf; o blegid ni ellir synio am was yn ufuddhau heb synio ar yr un pryd am arglwydd yn gorchymmyn. "O cherwch fi," medd Crist, "cedwch fy ngorchmynion ;" ac os na ellir *caru* heb gadw gorchmynion, pa fodd y gellir ufuddhau heb gadw gorchmynion? Lle bynnag y byddo ufudd-dod y mae yno gyfraith; ac y mae pob cyfraith yn cynnwys gorchmynion. Y mae llawer yn meddwl, os byddant yn caru na raid iddynt ddim ufuddhau; neu o'r hyn lleiaf, os byddant yn cadw'r ddau orchymmyn mawr, na raid iddynt ddim gofalu am gadw pob gorchymmyn neillduol a gynnwysir yn y ddau hynny. Felly y mae yn rhyngu bodd iddynt feddwl. Y mae'n well ganddynt garu yn benrhydd nag wrth reol ; ufuddhau yn amhennodol nag yn fanwl. Y maent yn barod iawn i garu Duw, os ydyw caru yr un peth a theimlo yn gariadus. Yn wir, nid oes mo'u parottach i garu yn rhad, sef i garu heb dalu. Y maent hefyd yn f ddlon i garu eu cymmydog fel hwy eu hunain, os gallwch chwi brofi fod y cymmydog hwnnw cystal dŷn a hwynt ; ac y maent yn foddlon i garu cryn lawer *agos* cystal a hwy eu hunain, os caniatteir iddynt ddewis eu pobl. Yr un ffunud, y maent yn barod iawn i *ufuddhau*, pan y byddo ufuddhau yn cyd-fyned â'u tueddiadau hwy eu hunain ; ond pa bryd bynnag y byddo

ufuddhau yn anodd, neu'n anfanteisiol iddynt, y maent yn peidio âg ufuddhau, ac yn ymorphwys, yn efengylaidd iawn, ar drefn gras; a rhag ofn i Dduw anghofio maddau iddynt, y maent yn gofalu ar faddau iddynt eu hunain. Fe fyddai'n ffiaidd ganddynt ofyn maddeuant gan offeiriad na phab, am eu bod yn tybied y disgwylid iddynt gyfrannu swllt o leiaf tuag at gynnaliaeth y maddeuwr, ac y byddai raid iddynt edifarhau a gwneuthur pennyd heb law hynny; ond y maent yn maddau iddynt eu hunain yn ddibetrus, am eu bod yn maddau yn rhad, heb arian, heb gyffes, heb edifeirwch, heb bennyd, ac heb iawn. Ac etto i gyd, dyma'r bobl amharottaf i gyd-ddwyn â'u brodyr; canys pan yn barnu eraill, barnu y maent wrth reolau caetha'r efengyl; ond pan yn barnu eu hunain, eu cân ydyw gras i gyd.

Byddwn yn llym wrthym ein hunain pe na bae ond er mwyn gallu o honom fod yn dyner wrth eraill—yn dyner wrthynt nid trwy ddarostwng safon moesoldeb efengylaidd, canys fe fyddai hynny yn beth anonest a pheryglus hefyd, ond trwy gyd-ddwyn â'u gwendidau. Y rhai sy'n ufuddhau fanylaf sy'n ymdeimlo fwyaf â'u colliadau eu *hunain*. Wrth geisio gwneuthur eu *holl* ddyledswyddau, y maent yn ebrwydd iawn yn cael achos i fod yn anfoddlon ar eu cyflwr. Nid ydyw yn ddigon ganddynt gadw'r gorchmynion a gyhoeddwyd ar fynydd Sinai. Y maent yn ceisio cadw'r gorchmynion anhawddach a mwy ysprydol a gyhoeddwyd ar un o fynyddoedd Galilea, canys y mae Crist yn gofyn cyfiawnder helaethach na Moses. Yn wir, y mae cyfraith Crist yn cynnwys llawer chwaneg o orchmynion na'r deng air deddf, am nad yw y rheini yn ddim amgen nag ychydig enghreifftiau o'r ddeddf foesol, y rhai a roddwyd i genedl Israel yn nhymmor ei phlentyndod. Pe na buasai pobl Israel yn

blant ni fuasai raid scrifennu "Na ladd, na wna odineb, na ladratta," am fod y rhain yn gynnwysedig yn y crynhöad, a elwir er mwyn hwylusdod, yn *ddegfed* gorchymmyn:—"Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennych wraig dy gymmydog, na dim a'r sydd eiddo dy gymmydog." Eithr fe roddwyd cyn hir i feibion Israel grynhöad amgenach na hwnyna o'u dyledswyddau tuag at ddŷn, sef hwn:—"Na ddiala, ac na chadw lid i feibion dy bobl, ond câr dy gymmydog fel ti dy hun." Erbyn hyn yr oedd y plentyn wedi tyfu digon fel yr oedd yn wiw i Dduw ddywedyd wrtho "Gwna," ac nid "Paid" yn unig. Ychydig amser yn ddiweddarach, fe wnaeth yr Arglwydd yr un peth gyd â golwg ar ddyledswyddau cenedl Israel tuag at Dduw. Yn lle dywedyd wrthi:—"Na wna hyn ac na wna'r peth arall," efe roes iddi orchymmyn annogol, yr hwn sy'n fwy cynnwysfawr na mil o orchmynion gwaharddol, sef hwn:—"Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl gàlon, â'th holl enaid, ac â'th holl nerth."

Nid cyfraith Iddewig yn unig, na chyfraith Gristionogol yn unig ydyw'r ddau orchymmyn hyn, eithr cyfraith gyffredinol y ddynoliaeth, yr hon a fuasai'n bod pe na lefarasai Moses, a phe nad ymddangosasai Iesu Grist, am ei bod yn gyfraith dragwyddol. Gan ei bod hi felly, yr ydys yn awr mor rwymedig i'w chadw ag y buwyd erioed—yn fwy rhwymedig, yn wir, am fod Crist wedi ei hysprydoli yn ei ddysceidiaeth, wedi ei hanrhydeddu yn ei fywyd a'i farwolaeth; ac, ar ol escyn i'r nef, yn rhoi gras i ddynion i'w chadw yn berffeithiach. Cofiwn nad oedd yr Iesu wrth ei chrynhoi ddim yn ei gwneyd hi yn llai manwl, ac nad oedd efe wrth roi dau orchymmyn cyffredinol ddim yn dirymmu ei gorchmynion neillduol. Os ydyw hi'n egwyddor, nid ydyw hi ddim yn peidio â

bod yn ffurf. Y mae iddi ei phynciau o hyd, ac y mae yr hwn a ballo mewn un pwnc yn euog o dorri pob pwnc. Y mae ym mhregethau Crist, ac yn llythyrau yr apostolion gannoedd o orchmynion, ac fe gynnwysir y cwbl yn yr un gair "*Câr;*" ond a ydyw'r gorchmynion neillduol o achos hynny yn afreidiol? Nac ydynt ddim; canys wrth y modd yr ydym ni yn cadw'r gorchmynion neillduol y gallwn ni farnu a ydym yn cadw'r gorchymmyn cyffredinol. Fe feddyliodd y gŵr ieuanc cyfoethog ei fod wedi cadw yr ail orchymmyn mawr hyd oni phrofwyd ef trwy roddi y gorchymmyn neillduol hwn:—" Dos, gwerth yr hyn oll sydd gennyt, a dyro i'r tlodion." Rhag i ninnau feddwl ein bod yn caru pan na byddom yn caru, y mae'r Iesu yn gweled yn dda fanylu, gan ddywedyd:—" Câr trwy gredu, câr trwy ymwadu, câr trwy fod yn ostyngedig, trwy fod yn ddioddefgar, trwy fod yn drugarog, trwy fod yn onest, trwy fod yn sobr, trwy ddywedyd y gwir; canys trwy garu yn y ffyrdd neillduol hyn y gelli di ddangos dy fod yn ufuddhau." Trwy ufuddhau hyd angau y dangosodd Mab Duw ei hun ei fod yn caru yn fawr, a thrwy ufuddhau yn unig y gallwn ninnau garu Duw a dŷn. Ac nid danghosiad o grefydd ydyw ufudd-dod—ufudd-dod ydyw crefydd. Os oes rhywrai o honoch heb gredu hynny, yna yr ydych yn tybied fod Duw yn gwbl fel y chwi eich hunain, ac yr ydych yn ymddwyn tuag atto fel un cydradd, ac nid fel eich Arglwydd; canys os yw efe Feistr, pa le y mae ei ofn? Yr ydych yn cymmeryd arnoch ei garu, ond a ellwch chwi garu Duw nad ydych yn ei ofni? A hyd yn oed pe gallech, mi a ddywedwn wed'yn na thycia cariad annibynol ddim heb ufudd-dod. Pa beth a dybygech chwi am filwyr yn dywedyd wrth eu llywydd:—"Yr ydym yn eich caru, a pha beth yn ychwaneg a fynnwch chwi? Gadewch ini, gan hynny, wneuthur yn ol ein hewyllys ein

hunain." Ond ni allai'r cyfryw un ddim cydnabod egwyddor a fyddai'n dirymmu ei hawl ef a dyledswydd ei filwyr; ac etto yr ydych chwi yn disgwyl i Dduw gydnabod egwyddor felly, ac yn disgwyl iddo ymwadu âg egwyddor gyntaf ei lywodraeth, sef fod pob peth yn eiddo ef, ac nad ydych chwithau yn eiddoch eich hunain. Yn lle ufudd-dod yr ydych yn cynnyg i'ch Arglwydd ryw gariad trahaus sy'n diystyru ei hawliau ef. Nid ydyw yn rhyfedd fod yn well gan rai dynion y cariad hwn nag ufudd-dod, o blegid y mae hwn yn eu gadael yn annibynol, tra y mae ufudd-dod yn eu darostwng. Onid ydyw yn naturiol iddynt ddewis yn hytrach fod yn feistriaid na bod yn weision?

Eithr yn y bennod y mae'r testyn ynddi nid yw yr apostol yn pwyso ar ddim yn fwy na bod y saint wedi eu prynu er gwerth, a'u bod trwy hynny wedi eu gwneuthur yn weision i Dduw ac i gyfiawnder. Nid ydyw yn ddigon gan yr aposol ddywedyd hanner y gwir. Y mae efe nid yn unig yn dywedyd eu bod hwy wedi eu rhyddhau oddi wrth bechod a thrueni, ond y mae efe hefyd yn chwanegu ein bod wedi myned yn weision i Grist; ïe, yn *gaeth*-weision iddo, canys hynny ydyw meddwl y gair. Pan y byddid yn prynu caethweision, eu prynu y byddid yn gyffredin er mwyn eu *cadw* yn gaethweision, ac nid er mwyn eu rhyddhau; ac er mwyn eu dwyn i'w wasanaeth ei hun allan o wasanaeth Satan a phechod y darfu i Grist brynu ei bobl â'i waed, ac nid er mwyn eu gollwng yn rhydd i fyw yn ol eu hewyllys. Caethweision oeddent o'r blaen, a chaethweision ydynt etto, ond eu bod yn awr yngwasanaeth Meistr newydd. Y mae'n rhyddid ni, yn gystal a'n diogelwch yn gynnwysedig mewn bod yn gaethweision i Grist. Y mae rhai pobl yn ddigon parod i gyffesu eu bod yn gaethweision wrth natur, ond y maent

wedi arfer meddwl nad ydynt ddim yn gaethweision ar ol i'r Gwaredwr eu rhyddhau. Ac yn wir, pe buasai'r gair "caethwasanaeth" yn golygu rhyw gyflwr adfydus a phoenus, y mae'n sicr nad *ydynt* ddim yn y cyfryw wasanaeth a hwnnw; ond os arwyddo y mae y gair nad ydyw ddim yn rhydd ini wneuthur fel y mynnom, yna y mae yn gwbl wir ein bod nid yn unig yn weision i Grist, ond hefyd yn gaethion iddo. Y mae yn *rhydd* ini beidio â gwasanaethu Satan neu beidio â gwasanaethu Crist, ond nid ydyw yn rhydd ini beidio â gwasanaethu neb. "Ni ellwch wasanaethu Duw a mammon," medd yr Iesu; a dyma i chwi ddywediad arall sy'n ddigon gwir i fod yn adnod:—"Y mae yn rhaid i chwi wasanaethu Duw neu fammon." Ni a allwn ddewis ein Meistr, eithr ni allwn ddim bod heb yr un Meistr. Etto i gyd, y mae rhai, fel y dywedwyd, heb ganfod y gwirionedd hwn, ac yn meddwl fod rhyddid Cristionogol yn gynnwysedig mewn bod yn rhydd oddi wrth bob deddf; ïe, deddf Duw hefyd.

Y mae'n ymddangos fod y cyfeiliornad hwn yn ffynnu yn amser yr apostol. Yr oedd rhywrai yn tybied, gan fod deddf pechod wedi ei dileu, a dychryniadau deddf natur wedi eu symmud ymaith, nad oeddent hwy gan hynny o dan unrhyw ddeddf; eu bod yn ddeddf iddynt eu hunain, ac fod ffydd wedi di-sodli ufudd-dod. Er mwyn gwrthwynebu'r cyfeiliornad yma, y mae'r apostol yn yr adnodau sydd o ddeutu'r testyn yn dwyn ar gôf i'r Rhufeiniaid eu bod trwy gael eu rhyddhau oddi wrth *bechod* wedi eu gwneuthur yn weision i *gyfiawnder*. A thrachefn, nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi, oblegid nid ydych chwi dan y ddeddf; *h. y.*, dan ddeddf natur, eithr dan ras; *h. y.*, o dan ddeddf ffydd, neu ddeddf yspryd y bywyd. "Ac," ebe fe, mewn man arall, "heb fod yn

ddi-ddeddf i Dduw, ond dan y ddeddf i Grist." A hyd yn oed pe na buasai adnodau yn dywedyd yn eglur fod y saint etto dan y ddeddf, fe allesid casclu hynny oddi wrth adnodau eraill sy'n mynegu eu bod hwy o dan Arglwydd, ac mewn gwasanaeth. "Megis yn rhyddion, ac nid â rhyddid gennych megis cochl malais, eithr fel gwasanaethwyr Duw." *Megis* yn rhyddion y mae'r saint ar y gorau; canys er nad ydynt mwyach yn wasanaethwyr Satan, y maent etto yn wasanaethwyr Duw. Y maent yn rhyddion am eu bod yn gaethion, i feistr newydd a gwell. Ac fel y mae rhyddid plant Duw yn gynnwysedig mewn caethiwed, felly o'r tu arall, y mae caethiwed plant diafol yn gynnwysedig mewn rhyddid—mewn penrhyddid. *Megis* yn gaethion y maent, ac nid yn gaethion gwirioneddol; canys fe ganiatteir iddynt wneyd yr hyn a fynnont, a hynny fel y mynnont; ac wrth wneuthur eu hewyllysiau eu hunain y maent yn gwneuthur ewyllys eu meistr. Y maent yn gwasanaethu heb wybod eu bod yn gwasanaethu, ac yn weision am eu bod yn tybied eu bod yn feistriaid arnynt eu hunain.

Ni raid i weision y diafol ddim ufuddhau i unrhyw ffurf. Nid oes ganddo ef ddim rheolau. Anghyfraith *yw* pechod, ac aflywodraeth ydyw llywodraeth y diafol. Y mae ei deyrnas ef yn llwyddo am ei fod ef yn gadael i bawb a phobpeth gymmeryd eu hynt. Yn ei wasanaeth ef, fe ganiatteir ichwi rodio i bob tiriogaeth, oddi eithr i winllan yr Arglwydd Iesu Grist. Chwi gewch fwytta'r peth a fynnoch oddi eithr bara'r bywyd. Chwi ellwch wisco dillad o bob defnydd oddi gerth llian main, ac o bob lliw oddi gerth gwyn. Chwi gewch godi yn forau neu yn hwyr, llafurio neu ddiogi, ymladd neu chwarau, rhegi neu ganu, bod yn gybyddlyd neu yn afradlon. Ië, chwi gewch fyn'd i wrando'r efengyl os peidiwch ag

ufuddhau iddi. Chwi gewch ddarllen y Beibl os ymgaledwch chwi wrth ei ddarllen. Chwi ellwch fyw yn barchus os peidiwch chwi â byw yn dduwiol; a chwi ellwch wneuthur unrhyw dda a fynnoch, os peidiwch chwi a'i wneuthur ef megis i Grist, ac er gogoniant Duw Dad. Chwi ellwch rodio tuag uffern yn heini neu yn hamddenol; ar hyd y ffordd wen neu ar hyd y ffordd las, a myned i mewn iddi yn y diwedd naill ai trwy ddrws y wyneb neu ynte trwy ddrws y cefn. Ar air, chwi ellwch *wneyd* pobpeth ond ufuddhau i gyfraith Crist, a *bod* yn bobpeth oddi eithr yn weision i gyfiawnder.

Er mwyn dywedyd pob da a ellir ei ddywedyd am y diafol fel meistr, mi a ddylwn chwanegu ei fod ef mor feddylgar ag ydyw ef o oddefgar, canys y mae yn dalwr gofalus odiaeth. Ni all efe ddim rhoddi cyflog mawr, ond hynny y *mae* efe yn ei roddi, y mae yn ei roddi yn brydlon ac yn gysson iawn; ac y mae hynny yn llawer o beth gan weision sy'n caru arian parod, ac yn byw wrth olwg ac nid wrth ffydd. Yn wir, prin y caiff pechadur *orphen* ei orchwyl na bydd y diafol yn talu iddo. Y mae y mwyniant yn hytrach yn cyd-fyned â'r pechod nag yn ei ganlyn. Oblegid hynny fe fydd pechadur yn gyffredin wedi gwario'i gyflog gyd â'i fod wedi gorphen ei waith, a hyn sy'n ei gymmell i bechu drachefn a thrachefn. Rhoddi yr hyn a welo efe yn dda—gwobrwyo yn hytrach na thalu y mae yr Arglwydd Iesu, yr hyn beth sydd ynddo'i hun yn dramgwydd i weithwyr balch ac annibynnol eu hyspryd. Nid oes wybod ar y ddaear pa *bryd* y tâl efe, na pha *faint* a dâl efe. Ni fydd efe byth yn talu yn llawn, canys y mae yn cadw yn ol y rhan fwyaf, er mwyn ei dalu gyd â llog yn adgyfodiad y rhai cyfiawn. Er hynny y mae'r Iesu yn rhoddi i'w weithwyr ddigon o lawenydd i fyw arno yn y byd *hwn*—can cymmaint o

lawenydd ag a aberthasant wrth ymadael â'u hen feistr. Er cymmaint a chystal ydyw'r llawenydd ysprydol hwn, y mae'n rhaid addef nad ydyw ddim mor gymmeradwy a llawenydd anianol gan ddynion y mae pechod wedi pylu eu harchwaeth. "Y bara gwael hwn" y galwyd y bara nefol gan y rhai oedd wedi ymgynnefino â blasusfwyd yr Aifft. Nid ydyw'r Meistr chwaith y mae y saint yn ei wasanaethu, ddim mor gymmeradwy gan lawer a'r meistr arall—y mae gormod o lymder yn gymmysgedig a'i fwynder ef. Y mae yn rhy fanwl; y mae haen rhy drwchus o brudd-der o dan ei siriolder ef iddo allu swyno'r lliaws yn ebrwydd. Er hynny, y mae yn myned yn hawddgarach, hawddgarach gan bawb sy'n ei 'nabod ef. Y rhai fu yn ei wasanaeth yn hir, gan brofi a brofasant fod yr Arglwydd yn dirion. Gweision ieuainc, a gweision anfuddiol, sy'n tueddu i achwyn ar y Meistr hwn; y mae'r *hên* weision yn ei ganmol ef bob un, ac yn canmol ei dŷ ef hefyd. Ond ni chlywais i erioed mo hên weision y diafol yn ei ganmol ef, na'i wasanaeth, na dim a berthyn iddo. Yn hytrach mi a glywais rai o honynt yn cwyno yn dost fod yr arian a delid iddynt yn eu hên ddyddiau yn arian drwg; fod *mwyniant* pechod wedi ei attal oddi wrthynt, a phechod yn unig wedi ei adael iddynt.

Os dehonglais i yn iawn y crychu gwyneb, mi a welais rai o honynt yn chwerthin yn wawdlyd am ben y ieuenctyd gwirion sy'n canmol y byd rhydd a geir yn nheyrnas Satan, ac wrth symmudiad eu gwefusau hwynt mi a feddyliais eu clywed yn dywedyd:—"Na chanmolwch yn rhy fuan. Arhoswch, fechgyn, hyd oni phallo chwant ac y torrer adenydd eich uchel-gais. Mynnwch wybod pa fath gyssurwr ydyw'r diafol mewn adfyd, ac a fedr efe weini yn fedrus ar was claf—ar was yn marw, pan y bydd amser ymron i gyd o'i ol, a thragwyddoldeb ar ei hyd o'i

flaen." O! y mae pawb yn addef mai Iesu Grist yw'r meistr gorau i hên bobl. O! na chredai cynnifer mai efe ydyw'r meistr gorau i bobl ieuainc hefyd. Ni wiw celu'r ffaith mai mewn caethiwed y mae gweision Crist ar hyn o bryd, ond cofier mai caethiwed yr anialwch ydyw, ac nid caethiwed yr Aifft—caethiwed yscol ac nid caethiwed carchar—caethiwed a fwriadwyd i'n discyblu, i'n gwneuthur ni yn well dynion ar y ddaear, ac i'n cymmhwyso ni i fod yn frenhinoedd yn y nef.

Pa hawl sy gennych chwi, gweision y diafol, i ddwyn barn gablaidd yn erbyn y caethiwed y mae gweision Crist ynddo? Ni wyddoch chwi ddim am dano, oddi eithr trwy glywed. Heb law hynny, nid ydyw'r Iesu, er fod ganddo awdurdod arnoch, ddim yn rhoi gorfod arnoch chwi i ddyfod i'w wasanaeth: a phe baech chwi'n dyfod fydd dim gorfod arnoch i aros yn ei wasanaeth, os mynnwch ymadael. Y mae llawer wedi ymadael, er fod yn iawn dyweyd mai cyn ymroi i'r gwasanaeth y darfu iddynt ymadael hefyd; ac y mae gan yr Iesu gymmaint o ymddiried yn ei wir weision fel y mae efe yn awr ac eilwaith yn beiddio gofyn iddynt:—"A fynnwch chwithau hefyd fyned ymaith?" ac y maent hwythau yn atteb yn unllais, gan ddywedyd:—"O! Arglwydd, at bwy yr awn i? gennyt ti y mae geiriau'r bywyd tragwyddol."

Y mae yntau, er mwyn eu profi, yn dywedyd yn daerach:—"Ymadewch, a dychwelwch i'r Aifft. Yno y mae pyscod heb eu bath. Yno y mae'r cwcwmerau a'r pompiynau, y cennin a'r winwyn pereiddiaf eu blas. Onid ydyw'ch enaid yn eu blysio wrth imi eu henwi?" "Na," meddant hwythau, "y mae'n well gennym ni y bara mwyaf merfaidd sy'n dyfod o'r nef na'r bwydydd blasusaf sy'n tarddu o'r ddaear. Y mae'n haws dygymmod a

chaethiwed yr anialwch na chaethiwed yr Aifft; canys y mae'r anialwch yn nes i Ganaan."

Gair etto, cyn dibennu, ar y rhan flaenaf o'r testyn. I bwy y mae i chwi ddiolch eich bod wedi newid eich meistr? "I Dduw y bo'r diolch, eich bod chwi y rhai oeddych gynt yn weision pechod, wedi ufuddhau i gyfiawnder." Yr ydych yn awr yn weision i Grist, am ei fod ef wedi'ch pwrcasu â'i briod waed, â'i waed ei hun, â'i werthfawr waed. Gweision pryn ydych, gwerth gwaed ydych—ei waed; ïe, a mwy na hynny—ei waed ei hun, ei briod waed. Y mae gwaed Crist yn eiddo mwy priodol iddo ef nag y mae gwaed neb arall yn eiddo i hwnnw. Y mae Crist ei hun yn eiddo Duw mewn modd llwyrach nag y mae un mab arall yn eiddo Duw; ac am hynny y dywedir, "Duw a ddanfonodd ei Fab *ei hun*." Yr oeddwn i gynt yn methu â gweled i ba beth yr oedd y geiriau yma, sef "ei hun" a "priod," dda; ond yr ydwyf erbyn hyn yn gweled rhywbeth ynddynt, er na fedraf ddim dyweyd yn iawn pa beth. Yr oedd *bywyd* yr Iesu yn ei waed; ïe, yr oedd yr Iesu ei hunan i gyd oll, yn Dduw ac yn ddŷn, yn ei waed; a hynny oedd yn ei wneuthur o yn werthfawr waed. O! ni lifodd erioed waed cyn goched a chystal ei rin â gwaed y Messia mawr; canys yr oedd hwn yn waed dŷn dihalog, yn waed brenin, oedd yn fab Dafydd, fab Adda, fab Duw, yn waed Person yr oedd y ddwyfol anian—ïe, y Duwdod ei hunan yn rhedeg yn ei wythïenau. A dyma'r gwaed a dywalltwyd drosoch chwi. Gan mai er gwerth y'ch prynwyd, na fyddwch weision dynion, eithr byddwch yn gaethweision i'r hwn a'ch prynodd.

## XVIII.

## CRIST A PHECHADUR; DYFOD A CHADW.

"*Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid; o ba rai, pennaf ydwyf fi.*"—1 TIMOTHEUS i. 15.

Y MAE'R "gair" sydd yn y testyn yn ymadrodd sy'n cynnwys amryw eiriau; ond gan mai un gwirionedd y mae'r geiriau hynny yn ei fynegi, y mae yn briodol galw'r geiriau yn "air." Gall gair gynnwys nid yn unig amryw eiriau ond hefyd amryw ymadroddion, cyd na bo'r ymadroddfon hynny yn mynegi mwy nag un gwirionedd, un ffaith, un syniad, neu un gennadwri. Gair yr Arglwydd y galwai'r proffwydi eu cennadwri oddi wrth Dduw at ddynion, er y byddai'r gennadwri honno weithiau yn un faith. Mewn dau neu dri o fannau yn y Beibl yr ydys yn galw'r holl Hen Destament yn air, am mai un meddwl sydd i'r Testament hwnnw. Mewn un neu ddau o fannau yr ydys yn galw holl ddadguddiad Duw yn air; a hynny sy'n rhoi hawl i ni yn y dyddiau hyn alw'r Testament Newydd, a'r ddau Destament ynghyd, yn air Duw; ond ystyr mwyaf cyffredin *gair* yn y Testament Newydd yw'r efengyl—yr efengyl yn ei swm a'i sylwedd. Yr un a'r unrhyw ystyr sydd hefyd i air Duw—gair y deyrnas, gair y ffydd, a gair yr iachawdwriaeth. Er fod yn y Testament Newydd liaws o lyfrau, etto un gwirionedd mawr sydd yn y cwbl, a gellir ei fynegi yn fyr ac yn syml mewn un gair. Fel y dywedodd yr apostol yn y llythyr at y Rhufeiniaid, fod pob rhyw orchymmyn wedi ei gynnwys yn gryno yn

yr ymadrodd hwn:—"Câr dy gymmydog fel ti dy hun," felly y mae yn y testyn yn dywedyd fod holl wirioneddau achubol yr efengyl wedi eu cynnwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn, sef "ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Y mae holl eiriau mawr yr efengyl yn ymgyfarfod yn yr ymadrodd hwn:—Crist Iesu a phechaduriaid, dyfod a chadw. Fe roddes Crist rai yn athrawon i'w eglwys i beri gwybod dirgelion teyrnas nefoedd, ac i egluro trefn yr iachawdwriaeth; ond cyn rhoddi y rhain fe roddes efe efengylwyr i gyhoeddi *gair* yr iachawdwriaeth.

Efengylu, ac nid athrawiaethu—cyhoeddi'r newyddion da o lawenydd mawr, ac nid eu hesponio ydyw gwaith cyntaf pregethwr yn y wlad hon; a hynny ydyw unig waith cennadwr mewn gwlad baganaidd. Cyhyd ag y paid cennadon â bod yn gennadon; *h.y.*, cyhyd ag bônt yn fugeiliaid ac yn athrawon sefydlog, yn lle bod yn efengylwyr teithiol, ni cheir byth ddigon o ddynion na digon o arian i efengyleiddio'r byd. Ni ddylai fod gan gennadwr na gwraig na phlant na thŷ, fel y gallo fod yn rhydd i redeg o dref i dref ac o wlad i wlad, gan lefain, "Hai, ho! gwrandewch y newydd da hwn—daeth Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Am fod Phylip yr efengylwr ac eraill yn gwneuthur fel hyn y darfu iddynt ym mhen ychydig o flynyddoedd lenwi'r byd Rhufeinig âg efengyl Crist. Ofer ini feddwl y gallwn Gristioneiddio paganiaid trwy ddanfon attynt fugeiliaid ac athrawon, a mwy ofer fyth ini feddwl y gallwn eu Cristioneiddio trwy ddanfon Beiblau iddynt. Ffydd sy trwy glywed ac nid trwy ddarllen. Trwy ffolineb pregethu—trwy y gwaith plentynaidd o gyhoeddi gair y cymmod y gwelodd Duw yn dda gadw dynion. Hyn ydyw ei arwyddair ef—yr efengyl *o* Dduw *i* ddŷn, *trwy* ddŷn. Y mae yn dda i'r eglwys wrth y Testament Newydd; er hynny, trwy air

Duw, a hynny allan o enau dynion, ac nid trwy unrhyw lyfr, y sefydlwyd ac yr helaethwyd teyrnas nefoedd. Llyfr i gadarnhau Cristionogion *yn* y ffydd, ac nid i ddwyn paganiaid *i'r* ffydd ydyw'r Testament Newydd. Bu'r eglwys am oesoedd heb Destament Newydd, ac ar ol iddi ei gael, ychydig oedd yn gallu ei bwrcasu a'i ddarllen; er hynny yr oedd gair yr Arglwydd yn rhedeg ac yn cael gogonedd y pryd hwnnw. Y mae yn dda i'r byd nad yw'r efengyl ddim yn dibynnu ar lyfr, am ei bod nac am ei llwyddiant. Buasai gair yr Arglwydd yn byw ac yn parhau yn y byd, hyd yn oed pe buasai'r Testament Newydd wedi myned ar goll. Y mae'r gair hwn mor fŷr, ac etto mor bwysig fel na allasai'r byd mo'i anghofio; mor fŷr fel yr ydys yn ei glywed o enau plant bychain. Ni all neb ddywedyd ei fod yn rhy ieuangc; ni all neb ddywedyd ei fod yn rhy hurt; ni all neb ddywedyd ei fod yn rhy brysur i ddeall cennadwri fawr Duw at ddŷn; canys y mae hi oll yn gynnwysedig mewn un gair, sef "ddyfod Mab y dŷn i geisio ac i gadw yr hyn a gollesid." A oes rhywrai fel Pedr yn cwyno fod yn epistolau Paul rai pethau anhawdd eu deall? Dyma beth hawdd iawn ei ddeall:—"Daeth Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid."

Heb law fod yr efengyl yn air, y mae'r apostol yn tystiolaethu fod y gair hwnnw yn wir:—"Gwir yw y gair." Beiddiodd efe ddywedyd mai gwir yw y gair yn fuan wedi i Grist fyned o'r byd y daeth iddo; ac felly ynghanol pobl yr oedd yn hawdd iddynt wrthbrofi gair na fuasai yn ddim amgen na chwedl ddisail. Credodd efe ei hun y gair hwn am na allai mo'i anghredu. Ni all ei fod wedi cyfeiliorni trwy gredu celwydd; canys yr oedd yn un o wŷr galluoccaf ei oes; a chan ei fod yn Iddew tra selog, yr oedd ei addysc a'i deimlad a'i holl ragfarnau yn ei

wneyd yn barottoch i wrthod Cristionogaeth nag i'w derbyn. Aberthodd ei fywoliaeth, ei barch a'i gysur, ac yr oedd bob amser yn barod i aberthu ei fywyd hefyd, er mwyn y peth yr oedd yn ei gredu. Glynodd wrth ei gred hyd y diwedd, a thystiolaethodd ar drothwy y byd tragwyddol ei fod wedi cadw'r ffydd. Dangosodd gymmaint o wendid ag a wnaeth Pedr wrth geisio dyhuddo'i wrthwynebwyr, ond ni allodd na gŵg na gwên neb wanhau ei dystiolaeth am Grist. Ni allodd gyttuno yn rhy dda â Barnabas nac â Phedr nac â Iago ynghylch pyngciau bach y dydd, ond yr oedd bob amser yn cyttuno â'r holl apostolion ynghylch y pwngc mawr fod yr Iesu yn anfonedig Duw ac yn Geidwad dŷn. Y mae rhai beirniaid diweddar yn tybied eu bod yn llwyddo i ddirymmu'r profion o wirionedd Cristionogaeth wrth ddangos fod yr efengylwyr a'r apostolion mewn rhai pethau yn anghysson â'u gilydd ac â hwynt-hwy eu hunain. Pe buasent yn cyttuno ym mhob peth, dïau y buasai'r un beirniaid yn eu cyhuddo o gynllwyn i dwyllo. Os ydynt yn anghyttuno mewn rhai pethau, onid yw hynny yn rhoi ini fwy o achos i'w credu yn y peth y maent yn cyttuno ynddo?

Dyweder nad ydynt yn gwbl unfarn ynghylch buddioldeb yr enwaediad, ynghylch amser a dull dyfodiad Mab y dŷn, ynghylch yr adgyfodiad a'r farn a sefyllfa ddyfodol—beth er hynny? y mae yn ddiammau eu bod oll yn pregethu yr un efengyl; yr oeddent bob amser ac ym mhob man yn cyd-ddywedyd y *gair* hwn, sef "ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Fe gafwyd ym mhlith y discyblion amheuwr, fe gafwyd yn eu plith wadwr, ac fe gafwyd yn eu plith fradychwr hefyd; er hynny ni feiddiodd cymmaint ag un o honynt haeru nad oedd yr Iesu yn Grist ac yn Geidwad. Hyd yn oed pe bâi'r Beibl yn ymollwng yn ddarnau dan ergydion beirniadaeth, fe saif y

gair yn ddisigl ynghanol yr adfeilion. Yn hytrach na barnu'r gair wrth y Beibl, barnwn y Beibl wrth y gair.

Yr oedd Luther a Chalvin a Zwingl yn rhy gall i daeru nad oedd dim o ôl dynion ar ddadguddiad a roddwyd trwy ddynion, neu fod yr Yspryd Glân wrth gynhyrfu'r scrifennwyr santaidd yn eu gwneyd yn anffaeledig. Ymroddi a wnaethant hwy i brofi mai gwir yw y gair—y gair am Grist ac am ei neges i'r byd; a llwyddasant i brofi hyn o beth mor effeithiol fel y credodd miloedd. Ni ddisgwylir i mi mewn pregeth ymdroi llawer i brofi fod y gair hwn yn wir; ond yr wyf yn gyttunol â'r cyngor apostolaidd yn eich gwahodd chwi i brofi pob peth, ac yn anad dim i brofi'r *gair* hwn. Gwan, os nad di-werth a fydd eich cred yn y gair, os na bydd yn wiw gennych ymdrafferthu i edrych a ydyw'r gair hwnnw yn wir. Y mae yn sicr fod yr apostolion oll yn credu fod yr Iesu yn Grist, Mab y Duw byw, a'i ddyfod i'r byd i gadw pechaduriaid, ac y mae yn sicr ei fod ef ei hun yn credu hynny. Pa un hawsaf gennych ai credu ei fod yn dywedyd y gwir, ai ynte ei fod yn twyllo'i hun neu yn twyllo eraill?

Yn awr, os ydyw'r gair yn wir, y mae yn canlyn ei fod yn haeddu pob derbyniad. Ofer ini gredu'r gair hwn â'r pen heb ei gredu â'r gàlon hefyd. Ni allwn dderbyn y gair heb dderbyn Crist sy'n destyn y gair. Gwirionedd ymarferol y dylem ei gymmwyso attom ein hunain yw'r gwirionedd am Grist. Y mae ambell wirionedd na byddwn ddim gwell o'i gredu, na dim gwaeth o'i anghredu, ond y mae'r *gair* sydd yn y testyn yn wirionedd a'n rhyddha, os credwn ef, ac yn wirionedd a'n collfarna, os anghredwn ef. Y mae'r gair hwn nid yn unig yn wir, ond hefyd yn wirionedd pwysig; ac am hynny, y mae yn

haeddu derbyniad—pob derbyniad—y derbyniad mwyaf calonnog a chroesawgar.

Yr ydych oll yn gweled fod y gair gwir a gwerthfawr hwn yn mynegi ffaith, ac yna yn dywedyd pa beth oedd diben y ffaith.

Dyma'r ffaith, sef "ddyfod Crist Iesu i'r byd." Y mae'r ymadrodd hwn yn rhoi ar ddeall fod Crist yn bod cyn ei ddyfod i'r byd. Er darfod *geni* pob dŷn i'r byd, etto yr Iesu yn unig a *ddaeth* i'r byd. Er darfod ei eni yntau, etto ni anwyd ef fel y ganwyd eraill. Yr oedd ei enedigaeth ef yn ddyfodiad o'r byd arall i'r byd hwn, o'r nef i'r ddaear, o dragwyddoldeb i amser, oddi wrth Dduw at ddynion:—"Mi a ddaethum allan oddi wrth y Tad, ac a ddaethum i'r byd." Hwyrach mai llefaru yn ol dull dŷn yr ydoedd efe wrth ddywedyd ei fod wedi dyfod o un lle i le arall, er y gellir synio hyd yn oed am berson anfeidrol yn bod yn fwy neillduol mewn un lle nag mewn lle arall; am hynny y dywedodd Duw trwy y proffwyd:—"Y nef yw fy ngorseddfaingc, a'r ddaear yw lleithig fy nhraed." Y mae yn rhesymmol meddwl nad yw efe ddim yn bod yn uffern fel y mae yn bod ar y ddaear, nac yn bod ar y ddaear fel y mae yn bod yn y nef. Os gallodd holl gyflawnder y Duwdod breswylio yn gorfforol yNghrist, yna y mae gan y Duw anfeidrol allu i gynghori mewn lle meidrol. Gan nad beth am hynny, yr oedd newid cyflwr i Fab Duw yn rhywbeth tebyg iawn i newid byd. Pan ddaeth efe i'r byd, cymmerodd daith bell. Pan ddiscynnodd o'r nef i'r ddaear, fe ddiscynnodd megis hyd at stôl droed y Duwdod.

Y mae yn ddïau fod yr ymadrodd "dyfod i'r byd" yn arwyddoccau cymmaint a hyn o leiaf, sef ddyfod Mab

Duw yn ddŷn. Pan y'i ganwyd y darfu iddo gyrraedd y byd, ond yr oedd efe wedi cychwyn cyn hynny Dywedyd yr ydys yn gyffredin mai'r ymgnawdoliad oedd y ris gyntaf yn ymddarostyngiad Mab Duw, ond y mae Paul yn rhoi ar ddeall fod yr ymddarostyngiad wedi dechrau yn y nef ac nid ar y ddaear. Cyn gwisco natur dŷn, yr oedd yn rhaid i Fab Duw *ddad*-ymwisco. Ymddibrisio neu ymwaccàu y mae'r apostol yn galw'r dadymwisco neu'r diosc hwnnw. Yr oedd yn gymmaint peth i Grist ymddiosc wrth adael y nef ag oedd iddo ymwisco wrth gyrraedd y ddaear; *canys* yr oedd yr ymddiosc hwnnw yn fath o farwolaeth. Rhaid i *ni* ymddiosc wrth fyned o'r byd hwn i'r byd arall, ac wrth ymddiosc yr ydym yn marw. Yr oedd yn rhaid i Grist yntau ymddiosc wrth ddyfod o'r byd arall i'r byd hwn, ac wrth ymddiosc yr oedd yn marw. Mewn marwolaeth yr oedd ei ymddarostyngiad yn dechrau, ac mewn marwolaeth yr oedd yn diweddu. Marw iddo'i hun a wnaeth yn y dechrau, a marw dros eraill a wnaeth yn y diwedd. Marw yn yr yspryd a wnaeth yn y nef, a marw yn y cnawd a wnaeth ar y ddaear. Y mae pob ymddiosc yn farw, a phob marw yn ymddiosc; a hynny sy'n peri fod newid byd yn beth mor boenus i Dduw ac i ddŷn. Gallwn dybygu nad oedd Mab Duw ddim yn chwennych ei ddiosc, ond yn hytrach ei fod yn deisyfu cael ei *arwisco* â'r natur ddynol heb roi heibio ddim oedd ddwyfol; ond nid oedd modd arwisco, ac nid oedd modd ymwisco o gwbl heb ymddiosc yn gyntaf. Ac er na pheidiodd efe â bod yn Dduw, fe beidiodd â bod yn ogyfuwch â Duw; er na roes heibio ei *natur* ddwyfol, fe roes heibio ei *ffurf* ddwyfol:—"Yr hwn ac efe yn ffurf Duw a'i dibrisiodd"—a'i gwaccaodd ei hun. Wrth gychwyn i'w fordaith, fe yscafnhaodd ei long, gan fwrw allan o honi hyd yn oed y taclau a'r dodrefn, fel y gallai hi nofio yn ddirwystr i siannel fâs y ddynoliaeth.

Y mae Crist erbyn hyn wedi dyfod yn nes—hyd attom. Daeth allan oddi wrth y Tad, a daeth i'r byd. Y mae bellach nid yn unig wedi peidio â bod yn ogyfuwch â Duw, ond hefyd wedi ei wneuthur ynghyffelybiaeth dynion; nid yn unig wedi peidio â bod yn ffurf Duw, ond hefyd wedi cymmeryd arno ffurf gwas. Y tu hwnt i'r llen yr ymddioscodd, ond y mae yn ymwisco yn ein gŵydd:—"Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Y mae efe bellach yn Immanuel—yn Dduw gyd â ni. Ond ar ol ymddangos ar y ddaear, y mae yn mynnu discyn i barthau isaf y ddaear, hyd at byrth angau a'r bedd. Wedi ei gael mewn dull fel dŷn efe a ddarostyngodd ei hun yn îs fyth. Wedi dyfod *i'r* byd, aeth i lawr, i lawr i waelod y byd, er mwyn codi'r byd i fyny—i "godi'r hên wlad yn ei hol." "Daeth Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid."

Dyma fi yn awr yn symmud oddi wrth y ffaith at ddiben y ffaith, sef cadw pechaduriaid. I hyn y daeth Crist Iesu i'r byd. Er mwyn hyn yr ymwaccaodd, yr ymgnawdolodd, y bu fyw ac y bu farw. Rhaid fod cadw pechadur yn beth mawr iawn yn ei olwg pan y gwnai efe gymmaint er mwyn hynny. Y mae yn ddïau na wnaethai efe ddim cymmaint, pe buasai llai yn ddigon. Yr oedd yn rhaid iddo ef ddyfod *i'r* byd, er mwyn achub y byd; yr oedd yn rhaid iddo ddyfod yn ddŷn er mwyn cadw dŷn. Ni allasai mo'i gadw megis o hyd braich, er fod iddo fraich hir a chadarn. Yr oedd yn rhaid iddo gymmeryd ei naturiaeth ef, a byw ei fywyd ef, a marw o'i farwolaeth ef. Ac y mae yn dda gennyf fi feddwl fod yn y Drindod un Person a *allodd* ddyfod i'r byd. Ni allasai'r Tad ddyfod, am nad oedd neb i'w ddanfon ef; ac ni buasai yn weddus i'r trydydd Person ddyfod o flaen yr Ail, hyd yn oed pe gallasai. Y Mab a allai ddyfod i'r byd; y Mab a ellid ei ddanfon; y Mab a allai ufuddhau.

Am fod Crist Iesu yn Fab Duw erioed y gallodd efe ddyfod yn Fab dŷn mewn amser.

Diolchwn, gyfeillion, am fod un mor fawr wedi *gallu* dyfod i'n daear fechan ni; a diolchwn fwy fyth am ei fod wedi ewyllysio dyfod; canys er fod yn bossibl iddo ddyfod, nid oedd arno ddim rhwymau i ddyfod. Y mae yn rhyfeddach fyth ddarfod iddo *fynnu* dyfod nag iddo *allu* dyfod, ac yntau yn gwybod pa driniaeth a gâi.

"Rhyfeddir byth y geni'n dlawd,
Y byw dan wawd a chroesau,
Y dioddef cosp heb unrhyw fai,
A'r ufuddhau heb rwymau."

Er hyn i gyd, ni fynnwn i ddywedyd mai er mwyn pechaduriaid yn unig y daeth Crist Iesu i'r byd. Fe ddaeth er ei fwyn ei hun hefyd. Fe ddaeth er mwyn boddloni ei gariad. Fe ddaeth am fod yn well ganddo gadw na cholli. Er ei fod yn gyfoethog, ac yn haelionus iawn, etto nid oedd yn ewyllysio colli dim a fu unwaith yn ei feddiant. Ac y mae'r hyn sydd wir am y Mab yn wir am y Tad hefyd. Nid oes ar Dduw gywilydd addef fod yn ddrwg ganddo golli dŷn. Fe draethodd yr Iesu dair o ddammegion, y naill ar ol y llall, i ddangos fod *Duw* wedi cael colled pan aeth dŷn ar goll. Efe yw'r bugail a gollodd ei ddafad; efe yw'r wraig a gollodd ei dryll arian; efe yw'r Tad a gollodd ei fab. Pan ddaeth pechod i'r byd, fe gafodd Duw a dŷn golled. Collodd dŷn ei fywyd, a chollodd Duw ran o'i eiddo. Collaist ti bob peth oedd werthfawr—collaist dy Dduw, a chollaist dy hun. Ni chollodd Duw bob peth. Yn sicr, ni chollodd efe mono'i hun, ond fe'th gollodd di; ac am ei fod yn teimlo'i golled hyd i'r byw y danfonodd efe ei Fab ei hun i'th geisio ac

i'th gadw; ac yr oedd yn rhaid i hwn golli llawer er mwyn dy gadw di—collodd ei gyfoeth, collodd ei ogoniant, collodd ei fywyd. Fe'i dibrisiodd—fe'i gwaccaodd ei hun; fe'i *collodd* ei hun mewn rhyw ystyr er mwyn dy gadw di, ac fe'th gadwodd am ei fod yn credu dy fod yn werth i'th gadw; fe'th gadwodd am dy fod yn ddafad, am dy fod yn ddarn arian, am dy fod yn fab; ac yn anad dim am dy fod yn fab ieuengaf—yn fab anwes dy Dad, ac yn ffefryn yn y teulu. Adnabu efe ei ddafad er gwaethaf y llaid oedd arni; adnabu ei ddarn arian er gwaethaf y llwch oedd arno; ac adnabu ei fab yn ei garpiau. Fe'th garodd ac fe'th gofiodd yn dy isel radd, am ei fod yn credu y medrai efe wneyd rhywbeth o honot er gwaethaf dy aflendid. Er mwyn dy wneyd yn lân ac yn debyccach i ti dy hun y golchodd efe di â gwaed ei Fab ei hun. Wedi dy olchi â gwerthfawr waed Crist, a'th wisco â'i gyfiawnder ef, bydd golwg parchus arnat—byddi yn ddifai ger bron gorseddfaingc Duw.

Gyfeillion, a deimlasoch chwi erioed eich bod yn bechaduriaid, ac yn bechaduriaid colledig? A deimlasoch chwi fod arnoch angen am Geidwad i'ch cadw? I'r rhai sy'n teimlo hynny y mae dyfodiad Crist i'r byd yn newydd da o lawenydd mawr. Y mae llawer yn barod i gydnabod eu bod yn bechaduriaid nad ydynt ddim yn teimlo eu bod yn bechaduriaid colledig, sef yn bechaduriaid *wedi* eu colli eisoes. Pryderu y maent hwy ynghylch rhyw golledigaeth bell y gallant fyned iddi yn y byd a ddaw, ond nid ydynt yn pryderu dim ynghylch y golledigaeth y maent ynddi yn awr yn y byd hwn. Nid oes arnynt hwy eisiau Iachawdr presennol, a iachawdwriaeth bresennol i'w cadw rhag drwg presennol. Y mae yn wir fod Crist Iesu yn gwaredu dynion rhag y llid a fydd, oddi wrth y digofaint sydd ar ddyfod; ond y mae yn gwneyd hynny

trwy eu gwaredu oddi wrth y byd drwg presennol. Y mae yn eu gwaredu rhag uffern trwy eu gwaredu oddi wrth bechod. Crist Iesu a ddaeth i'r byd, ac fe'i galwyd ef yn Iesu am ei fod yn gwaredu ei bobl oddi wrth eu pechodau. Ni all Duw dy attal rhag ymlosci yngwres y byd a ddaw, oni adewi iddo yn y byd hwn symmud ymaith y tanwydd sydd o'th fewn. Y mae defnydd dy uffern yn dy gàlon di dy hun. Bechadur, a wyt ti yn ofni dy fod wedi rhodio mor agos i uffern fel y mae rhai o'i gwreichion eisoes wedi disgyn arnat, a bod y pechod sydd ynot wedi dechrau cynnau, a'th losci di. Y mae yn dda gennyf ddywedyd wrthyt nad oes un tân a'r sy'n ymgynnau ar y ddaear yn dàn anniffoddadwy. Dyma'r ddaear y mae gan Fab y dŷn awdurdod i faddau pechodau arni. Dyma'r byd y daeth Crist Iesu iddo i gadw pechaduriaid. Y mae "pechaduriaid" yn air nad oes iddo derfynau nac eithriadau; am hynny nid oes un pechadur ar y ddaear na all ddywedyd yn hŷf ddyfod Crist Iesu i'r byd i'w gadw *ef*; ddarfod iddo fyw er ei fwyn ef, a marw drosto ef. Pe dywedai rhywun na ddaeth Crist i'w gadw ef, byddai raid i hwnnw allu profi yn gyntaf nad yw ddim yn bechadur, neu o'r hyn lleiaf nad yw ddim yn bechadur colledig; a phwy a all brofi hynny?

Ond efallai y dywed rhywun fod arfaeth ac etholedigaeth yn bod. Y maent yn bod yn ddiammau; er hynny, rhannau ydynt hwy o drefn Duw i gadw pechaduriaid. Fe ddadguddiodd Duw ini y dyfnion bethau hyn, fel y gwybyddem fod ein hiachawdwriaeth o'r dechrau i'r diwedd yn gwbl o ras; ac onid yw pob dŷn a achubwyd yn barod iawn i gydnabod mai yn rhad y cafodd ei achub? Dangos y mae arfaeth ac etholedigaeth fod meddyliau grasol Duw tuag attom yn hên feddyliau. Nid ŵyf fi

wrth natur yn hyderus iawn, nac yn haerllug chwaith, gobeithio; er hynny, pe dywedai Duw wrthyf na chofiodd efe ddim am danaf yn y cyngor bore, fe ddywedwn innau wrtho yntau ei fod yn rhwymedig, er mwyn ei air a'i enw a'i anrhydedd, i gofio am danaf yn awr. Mi ddywedwn ei fod ef ei hun wedi cyhoeddi yn eglur ddarfod iddo ddanfon ei Fab i'r byd i gadw pechaduriaid; a'm bod innau yn gystal pechadur a'r gwaethaf, a'm bod gan hynny yn gymmwys iawn i'm cadw. Pe dywedai wrthyf nad ŵyf yn un o ddefaid tŷ Israel, fe ddywedwn innau, fel y wraig o Ganaan, fy mod yn un o'r cenawon cŵn; a phe dywedai nad ŵyf yn un o'r bobl etholedig, fe ddywedwn innau fy mod yn un o'r pechaduriaid y daeth ei Fab i'r byd i'w cadw.

Ond efallai y dywed rhywun, "Yr ŵyf fi yn credu fod y gair sydd yn eich testyn yn wirionedd cyffredinol, ond nid yw yn wirionedd y gellir ei gymmwyso at bob pechadur yn neillduol. Pe gwybyddech y cwbl, yr ŵyf fi yn bechadur mawr iawn—rhy fawr i'm cadw byth." Mawr neu beidio, nid tydi yw'r pechadur mwyaf. "Y pennaf ydwyf fi," medd yr apostol; ac y mae efe yn yr adnodau sy'n canlyn yn dywedyd fod y ffaith ddarfod i Dduw ei gadw ef yn brawf y gall efe gadw pob pechadur arall. Nid ŵyf fi yn meddwl mai'r pechadur pennaf yn ei olwg ei hun yn unig ydoedd yr apostol; efe oedd y pechadur pennaf yngolwg Duw hefyd. Ac mi ddywedaf i chwi pa ham yr ydoedd y pechadur pennaf—am mai efe oedd y pechadur mwyaf crefyddol a fu yn y byd erioed. Pechadur hunan-gyfiawn ydoedd; pechadur nad oedd yn meddwl ei fod yn bechadur; pechadur oedd yn tybied ei fod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw wrth erlid eglwys Dduw; a phechadur crefyddol, cydwybodol o'r fath yma ydyw'r pechadur anhawddaf ei achub o bawb. Ond

cafodd Saul o Tarsus, y pechadur parchus, cafodd efe drugaredd. Fe'i gwahoddwyd ryw ddiwrnod i edrych arno'i hun trwy lygaid Duw, ac i fesur ei hun â llinyn y cyssegr; ac yn y man fe welodd ei fod yn bechadur talach o'i ysgwyddau i fyny na phob pechadur arall.

O ran hynny, y mae pob dŷn edifeiriol yn cael ei argyhoeddi o un neu ddau beth, naill ai mai efe yw'r pechadur pennaf o bawb, neu ynte mai efe yw'r unig bechadur yn y byd. Y mae pob pechadur a safodd o flaen Sinai naill ai yn canu gyd â Saul o Tarsus:—

"Myfi'r pechadur penna'
Fel yr ŵyf,
Wynebaf i Galfaria
Fel yr ŵyf,"

neu ynte yn gweddïo gyd â'r publican, "O! Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, *y* pechadur." Fe welodd yr apostol bechaduriaid llai nag ef ei hun, ond ni welodd y publican, druan! un pechadur heb law efe ei hunan. Yr oedd hyd yn oed y Pharisëaid balch yn ymddangos yn ddifai yn ei olwg pan ganfu faint ei fai ei hun. Y mae yn dda ini feddwl fod Crist yn derbyn pob math o bechaduriaid—yn derbyn publicanod fel Zaccheus, ac yn derbyn Pharisëaid fel Saul o Tarsus.

*Rhagfyr 26ain, 1902.*

## XIX.

## CADW TRWY DDISCYBLU.

"*Canys ymddangosodd gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn; gan ein dyscu ni i wadu annuwioldeb, a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon; gan ddisgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist.*"—TITUS ii. 11—13.

Y MAE y testyn, fel y gwelwch, yn sôn am ddau ymddanghosiad, sef ymddanghosiad gras Duw, ac ymddanghosiad gogoniant Duw—ymddanghosiad gras fel peth a fwriadwyd i'n dyscu neu i'n discyblu ni, ac ymddanghosiad gogoniant fel peth y dylem ddisgwyl am dano. Y mae y discyblu a'r disgwyl mor angenrheidiol a'r ddau ymddangos. Ni thycia ymddanghosiad gras ddim i ni, os nad ydyw yn ein discyblu, ac ni thycia ymddanghosiad gogoniant chwaith ini os nad ydym yn disgwyl am dano—"gan ein discyblu; gan ddisgwyl." Yr un amcan sydd i'r ddau ymddanghosiad, sef ein cyffroi a'n galluogi ni i fyw yn santaidd yn y fuchedd hon. Y mae ymddanghosiad gras yn ein gwthio ni i fywyd santaidd megis o'r tu ol, ac ymddanghosiad gogoniant yn ein tynu ni i fywyd santaidd megis o'r tu blaen—gras yn ein cymmell, a gogoniant yn ein calonogi. "Yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant," medd y Salmydd. Yn wir, yr oedd yn rhaid iddo roddi'r ddau, os mynnai efe roddi un. Fe fuasai'n annichon i Dduw roddi

gogoniant heb roddi gras yn gyntaf, ac fe fuasai'n anweddus iddo roddi gras heb roddi gogoniant ar ei ol; canys er mwyn rhoddi gogoniant y mae efe yn rhoddi gras. Y mae y ddeddf sydd yn yr adnod hon yn gymmwysiadwy nid yn unig at ddŷn cyffredin yn unig, ond hefyd at y dŷn Crist Iesu. Os ymddanghosodd efe unwaith yn ei ras, y mae'n rhaid iddo ymddangos eilwaith yn ei ogoniant, ac nis gallai efe ymddangos ar ol hyn yn ei ogoniant, oni buasai iddo ymddangos cyn hyn yn ei ras. Pe na ddaethai efe yn ei ras, ni byddai ganddo ddim saint i *ymogoneddu* ynddynt.

Sylwn ym mlaenaf ar ymddanghosiad *gras* Duw, yn ei effeithiau ar ddynion. Y ffurf a gymmerodd y cariad tragwyddol wrth weithredu tuag at ddŷn pechadurus, hynny ydyw gras. Cariad *ydyw* Duw, am hynny y mae'n rhaid iddo ef fod yn gariadus ac yn dda; ond y mae efe yn drugarog a graslawn am ei fod yn dewis bod felly. Y mae'n dda gen i Dduw o blegid yr hyn y rhaid iddo fod, ond y mae'n well gen i ef o blegid yr hyn y rhyngodd bodd iddo fod. Yn yr ieithoedd dwyfol, fel y'u gelwir, sef yr Hebraeg a'r Gymraeg, ac ychydig o ieithoedd eraill, nid oes i'r berfau gan mwyaf ddim amser presennol. Rhaid benthyca berfau yn yr amser a fydd i ddynodi yr amser y sydd, neu ynte arferyd dull cwmpasog. Beth ydyw enw Duw—y canol o'i dri enw mawr, "Jehofah?" A pha beth ydyw meddwl yr enw Jehofah? Ydwyf yr hwn ydwyf; ond os cofiwn ni mai yn yr Hebraeg yr amlygodd Duw gyntaf yr enw hwn, hyn yn hytrach ydyw meddwl yr enw:—Byddaf yr hyn a fyddaf; *h.y.*, ydwyf yr hyn a fynnaf fi fod. Y mae'n dda i ni, bechaduriaid, fod y Duw cadarn yn Dduw mor ystwyth. Yn ystwythder ei enw a'i gymmeriad yr oedd gobaith pobl Israel, ac yn yr unrhyw ystwythder y mae'n gobaith ninnau. Gyd â

Duw mor ystwyth, pob peth sydd bossibl. Fe all *fod* yn bob peth ond bod yn gelwyddog. Fe ddichon *wneuthur* pob dim oddi eithr gwadu ei hun. Y *mae* efe yn ddigyfnewid, ond nid am ei fod yn llonydd fel y Môr Marw, eithr am ei fod fel y moroedd byw yn chwyddo byth i'r lan. Y *mae* efe yn anfeidrol, etto yn yr amlygiad o'i gariad, os nad yn y cariad ei hun, y mae efe yn ymddadblygu.

Pa ham na ddadguddiodd efe ei hun yn Dad cyn dyfod Crist Iesu i'r byd? Braidd na ddywedwn i mai am nad oedd efe ddim *yn* Dad yn yr ystyr uchaf hyd oni chafodd y rhai a grëwyd ganddo ef eu hail greu yNghrist. Pan anwyd iddo feibion lawer yr ymdeimlodd efe yn Dad, ac yr ymddygodd efe fel Tad. Pan oedd efe yn gwneyd credinwyr yn blant, yr oedd y plant ar yr un pryd yn ei wneyd yntau yn Dad. Er hynny, gan mai Duw yn ymddadblygu ynghanol yr amgylchiadau a grëodd efe ei hunan, i ddylanwadu arno'i hunan, ydyw'n Duw ni, y mae'n rhaid fod cryn lawer o'r Tad yn y Jehofah, a chryn lawer o'r Jehofah yn y Duw Hollalluog. Am ei fod yn Dduw Hollalluog y mae efe yn Jehofah, ac am ei fod yn Jehofah y mae efe yn Dad. Yn awr, fel y mae y Tad yn ymddadblygiad o'r Jehofah, felly yr un ffunud y mae gras yn ymddadblygiad o gariad. "Y mae Duw yn canmol ei gariad tuag attom, a nyni etto yn bechaduriaid i Grist farw drosom ni." Y mae y cyfryw gariad a hwn yn gariad anghyffredin—yn ras. Trwy Iesu Grist y daeth y gras hwn, ac am hynny y dywedir mai pan ymddanghosodd Crist yr ymddanghosodd gras Duw. Fe ymddanghosodd gras fel y bydd un o oleuadau'r nef yn ymddangos, sef gan oleuo, ac er mwyn goleuo; ac fe ddywedir fod amser y ferf yn arwyddo llewyrchu o'r gras yn ddisymmwth, ac mewn modd gwyrthiol.

Nid ydyw'r gair *Epiphany* yn y Saesneg yn ddim amgen na'r ffurf Saesnig ar y gair Groeg am ymddanghosiad; er hynny nid gŵyl yr ymddanghosiad y byddwn ni, y Cymry, yn galw gŵyl yr *Epiphany*, eithr Gŵyl Ystwyll *h. y.*, gŵyl y seren; a rhwng yr enw Groeg a Saesnigodd y Saeson a'r enw Lladinaeg a Gymreigiodd yr hên Gymry, yr ydym o honom ein hunain, heb ymofyn â neb na dim, yn gallu penderfynu ddarfod sefydlu yr ŵyl hon er coffa am ymddanghosiad y seren i'r doethion ar y deuddegfed dydd ar ol y Nadolig. Yn awr, fel yr ymddanghosodd y seren honno i'r doethion, felly yr ymddanghosodd gras Duw i bob dŷn—ymddangos trwy lewyrchu a wnaeth efe yn y tywyllwch. Heb law hynny, llewyrchu a wnaeth efe braidd yn annisgwyliadwy, ac *megis* yn erbyn rheol gyffredin naturiaeth. Nid oedd dim yn annaturiol yn ei ymddanghosiad, ac er hynny yr oedd yn oruwchnaturiol. Llewyrchu oddi isod y mae dawn a golau meibion dynion, ond llewyrchu oddi uchod a wnaeth gras Duw, megis codiad haul o'r uchelder. Nid ser yn discleirio yn y ffurfafen ydyw doethion y byd hwn, eithr gloynod y nos yn ymdreiglo ar wyneb y ddaear. Y *mae* eu goleuni yn brydferth, ond goleuni ydyw ag sy'n gwasanaethu yn hytrach i ddangos tywyllwch nag i'w ymlid ef ymaith. Y mae y Protestaniaid mwyaf eithafol yn taeru mai ofer ydyw disgwyl cael yn y Beibl ddim goleuni ar bethau byd arall. Y gwyddoniaid, meddant hwy, a all agor ini drysorau y byd ysprydol, os oes byd ysprydol yn bod. Y bobl hyn, trwy chwilio, a all gael gafael ar Dduw, os oes Duw ar gael. Diolch iddynt am y pethau a ddarganfuont yn y byd matterol, ac ym myd y meddwl hefyd, ond pa beth, attolwg, a ddarganfuont ym myd yr yspryd? Nid y nhw a ddarganfu ras Duw—ni fu dim darganfod ar hyn—ymddangos a wnaeth i bawb fel eu gilydd. Ni raid wrth wydrau o fath yn y byd i weled

gwrthrych disglaer. Yn wir, pe'r edrychai rhai ar ras Duw â'u llygaid noethion a syml eu hunain, hwy a'i gwelent yn well nag wrth edrych arno trwy yspïadur o waith dwylaw dynion. Fe *ymddanghosodd*—fe ymddiscleiriodd gras Duw oddi uchod. O! gymmaint ychwaneg o bethau a ddarganfyddid; ïe, yn y byd gweledig, pe chwilid ei ddefnyddiau a'i ddeddfau wrth oleuni'r gras hwn. Dyma ras sy'n bwrw goleuni ar y byd a'i drigolion, ar Dduw a'i ddirgel ffyrdd. Yr ŵyf fi yn gweled pob peth yn eglurach, ac yn deall amcan pob peth yn well, wrth sefyll o dan heulwen gras. Cwymp dŷn a gras Duw sydd bellach yn esponio cyflwr y byd. *Bywyd* ydyw'r gras a drysorodd Duw yNghrist, ond y mae y bywyd hwn yn oleuni dynion.

I ba beth yn arbennig yr ymddanghosodd gras Duw? I ddwyn iachawdwriaeth i ddynion. ac i'w dyscu neu eu discyblu; neu'n hytrach i ddwyn iachawdwriaeth iddynt *gan* eu discyblu—*trwy* eu discyblu. Y mae gras Duw yn ras gwaredol ac yn ras addyscol hefyd, ac y mae yn ras gwaredol trwy ei fod yn ras addyscol. Y mae efe yn gwaredu trwy addyscu—yn iachau gan ddiscyblu. A ydyw'r gras addyscol hwn wrth eich bodd? Os nad ydyw, y mae'n deg i mi hyspysu i chwi fod gan rai o'r duwinyddion ras mwynach ar werth, sef gras i'ch iachau heb eich discyblu tan un. Y mae'n wir na thal hwn ddim erbyn tragwyddoldeb, ond y mae o yn ras hyfryd iawn tra y pery efe. Y mae gras y duwinyddion yn fwy grasol na gras Duw yngolwg crefyddwyr anianol, o blegid y mae gras y duwinyddion yn cosi dŷn, tra y mae gras Duw yn ei ffrewyllu. Os clywch chwi rywrai yn dywedyd fod iachawdwriaeth o ras heb ddywedyd hefyd ei bod hi *trwy* ddiscyblaeth; os dywed rhywrai wrthych mai trefn i waredu pobl rhag uffern ac nid i'w gwared oddi wrth eu

pechodau ydyw trefn gras; os sonia rhywrai wrthych fwy am gyfiawnhad trwy ffydd nag am gyfiawnhad trwy weithredoedd, am ddedwyddwch y nef nag am ei glendid, ymogelwch rhag y cyfryw rai, canys y mae'n well ganddynt eich gwneyd yn hyfryd dros amser na'ch gwneyd yn hyfryd dros byth.

Da chwi, wrandawyr, os ydyw'n well gennych athrawiaeth iachus nag athrawiaeth foethus, credwch hyn; sef, mai nid trefn i faddau ydyw trefn gras, ond trefn i attal dynion rhag pechu—rhag rhoi gwaith i neb faddau iddynt; mai nid trefn i gadw ydyw trefn yr efengyl, ond trefn i santeiddio, i berffeithio. Y *mae* hi'n maddau, ac y *mae* hi'n cadw, eithr nid dyna'i hamcan hi. Pa beth y mae gras Duw yn ei wneyd yn y byd sydd yr awrhon? Cymhwyso dynion i fyd gwell, trwy ddwyn iachawdwriaeth i ddŷn, a hynny trwy eu dwyn nhw o dan ddiscyblaeth. Pan y bydd meddyg daearol yn ymdrechu iachau rhywun claf, fe fydd nid yn unig yn rhoddi iddo gyfferi, ond hefyd yn gorchymmyn ymgadw o hono rhag bwydydd ac arferion niweidiol; ac os llwydda i iachau y claf y mae yn priodoli ei lwyddiant nid i'w gyfferi yn unig, ond i'r holl driniaeth feddygol. Yr un ffunud, y mae gras Duw yn achub pechadur nid yn unig am ei fod yn ras maddeuol, ond hefyd am ei fod yn ras attaliol. Y mae ymattal oddi wrth rai pethau ac ymarfer â phethau eraill yn rhan anhebgorol o'r driniaeth. Y mae'n annichon iachau neb heb iddo ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn ac yn dduwiol; ac y mae gras Duw yn ein *dyscu* i wneyd hynny.

"*Ein dyscu*" *ym mha fodd?* Ein dyscu trwy'n ceryddu, trwy'n cystwyo; canys hynny, meddir, ydyw ystyr y gair *dyscu* yn y fan hon, a dyna'r rheswm pa ham

yr oeddwn i'n arfer y gair *discyblu* yn ei le. Yn wir, y mae amryw genhedloedd, ac yn eu plith y Cymry, yn arfer y gair *dyscu* yn yr ystyr yma. Oni chlywsoch chwi lawer gwaith fam yn bygwth ei phlentyn anufudd, gan ddywedyd:—"Mi'th ddysca i di, machgen i, pan gai afael arnat ti;" ac ni raid i neb ymdrafferthu i droi i eiriadur er mwyn cael gwybod beth ydyw meddwl y gair dyscu yngenau'r fam; canys y mae'n amlwg wrth ei hedrychiad a'i haccen fod ei dyscu hi yn gyfystyr â gwïalenodio, ac weithiau â ffonodio, palfodio, dyrnodio, a phlicio gwallt.

Dyscu dynion trwy eu cystwyo y mae gras Duw, ac am hynny y mae y gair a gyfieithwyd yn *ddyscu* yn yr adnod hon wedi ei gyfieithu yn "geryddu" ac yn "guro" mewn adnodau eraill:—"Y swyddogion a orchmynasant *guro* Paul a Silas â gwïail," meddir yn yr Actau. Ebe Pilat am yr Iesu, "Mi a'i *ceryddaf* ef, ac a'i gollyngaf yn rhydd." "Y neb y mae'r Arglwydd yn ei garu y mae efe yn ei *geryddu*, ac yn fflangellu pob mab a dderbynio." Ië, y mae'r adnodau cyfagos i'r adnod hon yn dangos fod yr Athro dwyfol yn fflangellu ei feibion hyd at dynu gwaed o honynt. Dyma'i ffordd ef i ddangos ei gariad tuag attynt. Hefo brigau ei wïalen y mae efe yn curo—yn wabio'i ras i mewn iddynt. Er's ennyd o amser bellach, y mae llawer o rïeni yn dywedyd yn erbyn cystwyo yn yr ysgolion beunyddiol, a phob plentyn yn myned yn fwy amhmarod nag erioed i ddywedyd wrth ei athraw, "Dy wïalen a'th ffon a'm cysurant;" a chan fod y plant sy'n caru eu croen, a'r rhïeni sy'n gwirion-garu eu plant yn lliosocach o lawer na'r athrawon, y mae'n debygol mai hwy a gaiff eu ffordd yn y man; canys yr ydym ni, er gwell neu er gwaeth, yn myned i mewn i gyfnod yn yr hwn y penderfynir pob peth trwy fwyafrif. Ond pa beth

bynnag a wneir yn yr yscolion cyffredin, y mae hyn yn sicr, sef nad ymedy'r wïalen byth o yscol gras, canys y mae curo yn yr yscol hon yn rhan o'r addysc. Yscol lem ei discyblaeth ydyw yscol gras. Wrth siarad a chanu am *iachawdwriaeth* gras nac anghofiwn addysc neu ddiscyblaeth gras, am mai tan addyscu y *mae* hwn yn iachau. Hyd y byddo dŷn wedi ei addyscu hyd hynny y mae efe wedi ei iachau. Danghoswch chwi imi ddŷn sydd heb ddyscu gwneyd y pethau a enwir yn yr ymadroddion sy'n canlyn, a minnau a ddanghosaf i chwithau ddŷn sydd etto heb dderbyn iachawdwriaeth.

*I'n dyscu ni i wneuthur pa wers* yr ymddanghosodd gras Duw? I'n dyscu ni i ymwadu â rhai pethau, ac i ymarfer â phethau eraill. Y mae crefydd o angenrhaid yn dechrau mewn ymwadiad; a phwy bynnag sydd heb ymwadu âg ef ei hun ac â'i bethau ei hun, y mae'n annichon i hwnnw ymroddi i Grist ac i'w wasanaeth. Rhaid diosc yr hên ddŷn cyn y gellir gwisco'r dŷn newydd. Y mae llawer nad ydynt ddim yn chwennych eu diosc, ond eu harwisco, fel y gorchuddier yr hyn sydd ddrwg â'r hyn sydd dda. Yn lle rhoi heibio bob pechod, chwanegu y maent ryw rinwedd neu gilydd at y pechod sydd barod i'w hamgylchu. Ond nid oes dim arwisco, na dim clytio yn bod yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Rhaid iti ddiosc dy ddillad budron i gyd, onid ê, ti a'th wnei dy hun yn bechadur ysmala yn gystal ag yn bechadur truenus; ac o'r ddau fe fyddai'n well gen i weled byd a diafol yn yscyrnygu dannedd arnaf na'u gweled yn chwerthin am fy mhen. Ac y mae cyn gased gan Dduw wisc o amryw ddefnydd ac o amryw liwiau a phe byddai hi'n wael ac yn aflan i gyd. O! pe llewyrchai gras Duw yn ei wres ar dy enaid, ti a deimlet ei bod hi'n rhy olau ac yn rhy boeth iti allu goddef dy hên ddillad. Ti a'u

taflet hwynt ymaith, o wir gywilydd, ac o wir ddiflasdod, ac a brysuret i wisco dillad yscafnach plant y goleuni.

*A pha bethau y'n dyscir i ymwadu?* A phob peth sy'n dwyn ein meddwl oddi ar Dduw a'i bethau, ac yn ei hoelio wrth y byd a'i bethau. "Ag annuwioldeb." Hwyrach nad wyt ti ddim yn casàu Duw, trwy wybod i ti dy hun, naill ai o ddiffyg amser, neu o ddiffyg yni, neu ynte o achos rhywbeth arall na raid ddim diolch i ti am dano; er hynny, os nad yw Duw yn dy holl feddyliau, dŷn annuwiol wyt ti. Waeth iti mo'r llawer gasàu Duw na'i ddiystyru ef. Ac â "chwantau bydol" hefyd; canys y mae y rhai'n, fel gosgordd, yn cerdded wrth sodlau annuwioldeb. Y mae yr anfoesol, mewn rhyw wedd neu gilydd, bob amser yn canlyn yr annwyfol. Pan na bo delw ac argraff Duw ar un tu i'r geiniog, ni all na bydd delw y byd a'i dri chwant ar y tu arall iddi.

Wel, rhag i mi'ch blino trwy ddyweyd yr hyn oll a ellir ei ddyweyd am y chwantau bydol hyn, mi ymfoddlonaf ar ddyweyd un peth angenrheidiol, sef hyn:—Peidiwch â meddwl mai chwantau cnawdol yn unig ydyw chwantau bydol, a pheidiwch â meddwl mai y chwantau cnawdol ydyw y rhai gwaethaf o'r chwantau bydol, a meddyliwch ddwywaith hefyd cyn cyhoeddi mai hwy ydyw'r chwantau mwyaf cyffredinol. Y *maent* yn amlycach, ac yn fwy gwarthus yngolwg dynion; eithr nid edrych Duw fel yr edrych dŷn. Chwantau ynfyd a niweidiol yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth y geilw'r Beibl y chwantau mwyaf ffasiynol a pharchus, megis y chwant am arian a'r chwant am enwogrwydd. Pa faint *mwy* niweidiol gan hynny ydyw'r chwant i fudur elwa, y chwant i gamfeddiannu, a'r chwant i ymddïal? Pob chwant sy'n pellhau dŷn o ran ei feddwl, ei yspryd, neu ei ymarwedd-

iad, oddi wrth y Duw byw, o'r byd y mae; ac y mae y byd pan elo i mewn i ddŷn, yn ei wenwyno. Y mae fod dŷn yn y byd yn beth digon peryglus, ond y mae fod y byd mewn dŷn yn beth damniol. "Chwantau bydol"—pa beth ydynt yn eu bôn? Bydolrwydd; ac fe fyddai'n well gen i argyhoeddi *un* o honoch chwi fod bydolrwydd yn bechod dinystriol na gyru'ch hanner chwi i orfoleddu.

Eithr nid digon ini *ymwadu* âg annuwioldeb a bydolrwydd; rhaid ini hefyd *ymroddi* i fuchedd newydd a santaidd; ac y mae gras Duw yn ein dyscu i fyw yn sobr, yn gyfiawn ac yn dduwiol. Enwau ar grefydd ymarferol yn ei pherthynas â ni'n hunain, â'n cymmydog ac â Duw ydyw sobrwydd, cyfiawnder, a duwioldeb; ac y mae y tri pheth hyn yn cyfatteb i'r tri pheth sy'n cyfansoddi crefydd, yn ol Crist yn y bregeth ar y mynydd. Y mae sobrwydd yn cyfatteb i ympryd, am mai trwy ymprydio y bydd dynion yn fwyaf cyffredin yn dangos eu bod yn sobr. Y mae cyfiawnder yn cyfatteb i elusen, am fod cyfiawnder yn ymddangos yn bennaf mewn gwneuthur da, ac nid mewn peidio â gwneuthur drwg. Y mae duwioldeb yn cyfatteb i weddi, am mai gweddi ydyw'r ffurf fwyaf arbennig sydd ar dduwioldeb neu ddefosiwn. Un grefydd yr ydys yn sôn am dani yma ac yn y bregeth ar y mynydd, ond fod honno yn gweithredu tuag at dri gwrthrych, sef y myfi, y tydi, a'r Efe. Lle bynnag y byddo undod perffaith y mae yno drindod hefyd. Pwy bynnag sy'n byw yn grefyddol y mae hwnnw yn byw yn sobr ac yn gyfiawn ac yn dduwiol.

A pha beth, yn ol y Beibl, ydyw bod yn sobr? Bod yn bwyllog ac yn gymmedrol—yn bwyllog o ran ein meddwl, ac yn gymmedrol o ran ein teimladau, ein geiriau a'n gweithredoedd. Am hynny y ceir y gair

*anghyfiaith* am "sobrwydd" wedi ei gyfieithu yn "bwyll" mewn rhai lleoedd, megis yn yr ymadrodd hwn:—"A hwy a welsant y gŵr cythreulig yn eistedd yn ei iawn bwyll." Dŷn yn ei iawn bwyll ydyw dŷn sobr, a dŷn heb fod yn ei iawn bwyll ydyw pob dŷn amgen. Uffern, pa beth ydyw hi? Carchar tragwyddol i loerigion anaele—i wallgofiaid anobeithiol. Y mae dynion yn colli eu pwyll neu yn peidio â bod yn sobr mewn amryw ffyrdd—rhai trwy fwytta gormod, rhai trwy yfed gormod, rhai trwy siarad gormod, ac eraill trwy chwarau gormod; rhai trwy ymwylltio, rhai trwy genfigennu, ac eraill trwy ymddïal. Y mae'r dŷn sy'n sobr ym *mhob* peth yn ddirwestwr, yn ystyr ysgrythyrol a phriodol y gair. Pa fath ddŷn ydyw'r dirwestwr ag y mae gras Duw yn ei ddyscu i fod yn ddirwestwr? Dŷn sy'n ymgadw yn *llwyr* oddi wrth bob peth anghyfreithlon, ac yn gymmedrol wrth fwynhau pob peth cyfreithlon. Dŷn â chanddo lywodraeth arno'i hunan—ymreolwr Cristionogol. "Gwell yw yr hwn a reola ei yspryd ei hun na'r hwn a ynillo ddinas," medd Solomon.

"Wel," medd rhyw wrandawr, "y mae pertrwydd y ddihareb yna yn fwy amlwg na'i phriodoldeb; canys pa fodd y gallaf fi, sy'n was i bechod, fod yn feistr arnaf fy hun? Yr ydych yn siarad fel pe bawn i yn ddau ac nid yn un." Yr wyt ti yn ddau, ar ol y cwymp, canys y mae yna rywbeth o'th fewn y gelli di ei alw yn *fyfi*, a rhywbeth arall o'th fewn y gelli di ei alw yn *dydi*. Y mae ynot ti ddau hunan—y gwir hunan a'r gau hunan; ac os nad ydyw'r hunan goruchaf yn ddigon cryf i orfod ar yr hunan isaf, arnat ti y mae y bai. Dy reswm a'th gydwybod a'th ewyllys—dyna'r drindod o gynneddfau sy'n dy wneyd yn ddŷn mewn gwirionedd, ac nid dy nwydau a'th drachwantau a'th fympwyon. Trwy dy natur isaf, ti elli ymgydio â diafol, ac felly orchfygu dy natur uchaf, ond

trwy dy natur uchaf ti elli ymgydio â Duw, ac felly orfod ar dy natur isaf.

Eilwaith, y mae gras Duw yn ein dyscu ni i fod yn *gyfiawn* hefyd tuag at eraill. Pa ham yn gyfiawn yn hytrach nag yn drugarog neu'n gymmwynasgar? Am fod gwneuthur cyfiawnder yn waith mwy anodd, mwy sychlyd, a mwy di-ddiolch na gwneuthur caredigrwydd, ac am hynny yn bwysicach. Gweithredu yn ol ein hewyllys ein hunain yr ydym wrth wneuthur caredigrwydd, ond gweithredu yn ol ewyllys un arall yr ydym wrth wneuthur cyfiawnder. Dilyn ein tueddiadau'n hunain yr ydym wrth fod yn garedig, ond ufuddhau i ddeddf yr ydym wrth fod yn gyfiawn; ac y mae deddf yn gyffredin yn gofyn mwy nag yr ydym ni yn *tueddu* i'w roi. O blegid hyn y mae cyfiawnder yn brinach hyd yn oed na chariad. Y mae'n ddiammau y gwyddoch chwi am liaws ag sy'n barottach o lawer i roi pryd o fwyd i chwi nag i dalu eu dyledion; a chwi a glywsoch sôn am liaws o Ryddfrydwyr mewn enw yn cyfrannu yn hael tuag at y gymdeithas hon a'r gymdeithas arall, ond yn anghyfiawnach na dim Toriaid tuag at eu gweithwyr neu eu tenantiaid. Y mae y bobl hyn yn garedig yn unig am fod yn rhattach iddynt fod yn garedig na bod yn gyfiawn. Y *mae* cariad sy'n myned y tu hwnt i gyfiawnder, ond myned heibio i gyfiawnder y mae cariad y rhan fwyaf. "Cariad," medd y Beibl, "yw diwedd y gorchymmyn, sef y gyfraith;" ïe, ond y mae yr un Beibl yn dangos mai cyfiawnder ydyw dechrau a chanol y gyfraith—mai cyfiawnder ydyw hi i gyd hyd at ei diwedd. Pa beth, o ran ei sylwedd, ydyw cariad gwirioneddol? Cyfiawnder—cyfiawnder helaethach na chyfiawnder yr yscrifenyddion a'r Phariseaid. Edrychwn ym mlaenaf dim ar ein bod yn gyfiawn, canys er y gallwn ni fod yn gyfiawn yn yr ystyr

isaf heb fod yn garedig yn yr ystyr uchaf, etto nis gallwn fod yn garedig o gwbl heb fod yn gyfiawn. Na foed a wnelom ddim â'r cariad penrydd, balch hwnnw na fŷn efe ddim ymostwng i ufuddhau i reolau manwl. Ynfyd y gwnaeth Saul, ac ynfyd y gwnawn ninnau, os aberthwn i'r Arglwydd yn lle gwneuthur ei orchmynion pendant. Na foddwn gyfiawnder mewn cariad sy'n rhy ddi-sylwedd i'w alw yn gariad. Ystyriwn fod *cyfiawnder* yn unig yn ymddyrchafu yn uwch na chariad y rhan fwyaf. A fynnet ti wneyd i'th gymmydog rywbeth amgenach na pheidio â gwneyd cam âg ef? Bydd gyfiawn ynte, canys y mae cyfiawnder ei hun yn dy gymmell i garu dy gymmydog fel ti dy hun. "Na fyddwch yn nyled neb o ddim ond o garu bawb eich gilydd." Y mae caru yn ddyledswydd; a chan ei fod yn ddyledswydd, yna y mae yn beth cyfiawn hefyd. Ni allodd Pedr ddyweyd dim yn well am y nefoedd newydd a'r ddaear newydd na'u bod yn greadigaeth yn yr hon y bydd cyfiawnder yn cartrefu.

Y mae gras Duw yn ein dyscu i fod yn *dduwiol* hefyd. Crefydd yn ei gwedd fwyaf ysprydol ydyw duwioldeb—crefydd fel y mae hi yn dwyn dŷn i gymmundeb â'r Duw goruchaf. Ar iseldir moesoldeb yr ydym yn sefyll wrth fyw yn sobr ac yn gyfiawn; ond wrth fyw yn dduwiol, yr ydym yn dyrchafu'n llygaid i'r mynyddoedd, o'r lle y daw ein cymmorth—ïe, yn dringo i'w copäau i ymddiddan wyneb yn wyneb â Duw, ac i dderbyn y gyfraith o'i law ef ei hunan. Duwioldeb ydyw nefolion leoedd crefydd. Hyhi sy'n dwyn ei pherchenog i'r nefoedd fach sy'n gorwedd yn nghyfeiriad y nefoedd fawr; lle mae'r awel byth yn dyner, a'r ffurfafen byth yn glir. Eithr cofier mai y dŷn sydd wedi ymddiosc oddi wrth annuwioldeb a bydolrwydd, ac wedi ymwisco â sobrwydd a chyfiawnder sy'n ddigon yscafn ei yspryd i escyn i'r uchelderau hyn.

Yscerbwd marw a fyddai moesoldeb heb dduwioldeb, a drychiolaeth a fyddai duwioldeb heb foesoldeb. Y dŷn sy'n foesol *ac* yn dduwiol, hwnnw sy'n ddŷn crefyddol. Y mae duwioldeb yn cynnwys dau beth o leiaf, sef addoliad ac efelychiad. Pwy bynnag sy'n addoli Duw fel y mŷn efe gael ei addoli, a'i ddilyn fel y mŷn efe gael ei ddilyn, y mae hwnnw yn byw yn dduwiol. Wn i ddim a ydyw'r hyn a elwir yn grefydd ysprydol yn îs yn y tir na chrefydd ymarferol, ond y mae'n amlwg ei bod yn îs nag y bu hi. Fe ddywedir mai y bedwaredd ran o drigolion Lerpwl, a'r seithfed ran o drigolion Llundain sy'n cymmeryd arnynt fod yn grefyddol, ond pa nifer tybed o'r gweddill bychan yna sy'n dduwiol? Y mae gwŷr defosiynol o fath Cornelius yn myned yn brin. Y mae y rhan fwyaf o Gristionogion yn rhy brysur ac yn rhy anianol i gyd-rodio â Duw fel Enoch, i ymgyfeillach âg ef fel Abram, ac i eistedd wrth ei draed ef fel Mair er mwyn gwrando ar ei ymadrodd. Pa fodd y gellir addoli Duw? Trwy wrando neu ddarllen am dano, trwy fyfyrio arno, a thrwy weddïo arno. Nid gwaith i bregethwyr a blaenoriaid ac athrawon yn unig ydyw hyn—y mae yn waith i bob Cristion. "Pob duwiol a weddïa;" a pha fodd y gall neb weddio heb fyfyrio, ac ar ba bethau y gellir myfyrio oddi eithr ar y pethau yr ydys yn eu gwrando a'u darllen.

Ond y mae y rhai sy'n byw yn dduwiol, heb law bod yn *addolwyr* y Tad yn *ddilynwyr* Duw; *h. y.*, yn ddynwaredwyr Duw. Nis gellwch chwi anrhydeddu Duw na dŷn yn fwy effeithiol na thrwy ei ddynwared. Peth dirmygus ydyw i ŵr ddynwared gŵr, er hynny y mae'n weddus i blant ddynwared eu rhïeni, ac yn weddus i bawb ddynwared eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Wrth ei ddynwared ef, mi a fyddaf yn rhywbeth amgenach

na dŷn moesol—mi a fyddaf yn ddŷn duwiol, tebyg i Dduw. Wedi i'r gŵr ieuanc cyfoethog ddywedyd ddarfod iddo gadw o'i ieuenctid holl orchmynion y gyfraith, fe ddywedodd yr Iesu wrtho:—"Os ewyllysi fod yn berffaith, dos, gwerth yr hyn oll sydd gennyt, a dyro i'r tlodion." Ac oni ddywedodd efe cyn hynny wrth ei ddiscyblion:—"Byddwch berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith." Ac ym mha beth y mae perffeithrwydd Duw yn ymddangos yn fwyaf arbennig? Yn ei waith yn peri i'r haul godi ar y drwg a'r da, ac i'w wlaw ddisgyn ar y cyfiawn a'r anghyfiawn; *h.y.*, yn ei faddeugarwch neu ei drugarogrwydd. Er mai maddau ydyw y peth anhawsaf o ddim—ïe, i Dduw ei hun, etto y mae'n haws i'w blant ei ddynwared ef yn hyn o beth nag mewn dim arall. Y mae rhai pethau na byddai yn wiw ini geisio ymdebygu i Dduw ynddynt. Nac ymorchestwn i fod yn debyg iddo yn nerth ei fraich, canys wrth hynny y collodd Nebuchodonossor ei frenhiniaeth; nac ym mawrhydi ei wynebpryd, canys am hynny y bwriwyd Luciffer o'r nef; nac yn noethineb ei dalcen, canys am hynny y trowyd Adda allan o Baradwys; eithr yn ymysgaroedd ei drugaredd, yn ngwrid ei gariad, a gwyndra ei santeiddrwydd, fe'n hannogir i ymdebygu iddo hyd eithaf ein gallu.

*Ym mha le* neu *ym mha amser* y mae gras Duw yn ein dyscu ni i fyw yn santaidd? Yn y byd sydd yr awrhon, neu yn ol cyfieithiad arall, yn yr oes hon. Pa oes a feddylir wrth yr oes hon? I bob dŷn neillduol, oes dŷn, sef yr amser rhwng yr awr hon ac awr angau ydyw'r oes hon. I ddynion yn gyffredinol, oes y byd ydyw hi, sef yr amser rhwng y dydd hwn a dydd y farn. Ei oes ei hun ac nid oes y byd a bïa pob dŷn neillduol. Y mae y rhan fwyaf o'r duwinyddion Protestanaidd erbyn hyn yn dyscu

fod heddyw Duw yn hwy nag einioes dŷn, ac yn gyhyd ag amser, ac y gall dŷn gael iachawdwriaeth tra bo amser, ym mha fyd bynnag y byddo fo. Dyna farn Martensen, yr hwn y mae ei lyfr yn gyffredin yn llyfr y dosparth yn yr Athrofa. Y mae'n wir ei fod ef ac eraill yn addef fod y byd arall yn fwy anfanteisiol o lawer i gael iachawdwriaeth ynddo nag ydyw'r byd hwn, ac y maent yn synio fod addef cymmaint a hynny yn ddigon i wneyd eu hathrawiaeth yn ddi-berygl. Gan fod arwyddion eisys y bydd yr athrawiaeth newydd hon yn fwy bŷr-hoedlog hyd yn oed nag a fu athrawiaeth y Diwygwyr Protestanaidd ynghylch sefyllfa ganol, y mae'n well gennyf fi lynu wrth yr *hên* athrawiaeth a gredir gan y Catholigion a chan Brotestaniaid Ysgotland a Chymru, sef y bydd pob dŷn annuwiol yn rhy gyndyn yn y byd a ddaw i dderbyn yr iachawdwriaeth a wrthododd efe yn y byd hwn. Y mae Protestaniaid y Werddon, Ysgotland a Chymru yn cyttuno âg Eglwys Rhufain yn y peth pwysicaf, sef mai ar ddiwedd einioes dŷn y *penderfynir* ei dynged, ac mai ar ddiwedd amser y *cyhoeddir* ei dynged. Mewn peth arall mwy dibwys sydd ynglŷn â hyn, y mae'n wir fod y Catholigion a ninnau yn anghyttuno mewn mesur; canys credu yr ydym ni mewn purdan bŷr, tra y maent hwy yn credu mewn purdan hir. Yr ydym ni'n meddwl fod y credinwr, pa mor amherffaith bynnag a fyddo, yn cael ei gyfnewid, megis yn wyrthiol, mewn munud awr, a'i ddwyn yn ddiymaros i ogoniant. Y mae Eglwys Rhufain, o'r tu arall, yn anfoddlon i Gristion a fyddo wedi gwneyd llawer o gastiau drwg yn y byd hwn gael myned i'r nefoedd mor uniongyrchol a hynny, ac am hynny y mae hi yn ei gadw dros amser mwy neu lai mewn lle y caiff efe gyfleustra i orphen edifarhau, ac i gael ei geryddu a'i buro. O blegid hyn y mae cymmaint o ofn y purdan ar bobl orau Eglwys Rhufain ag sydd o ofn uffern ar ei

phobl waelaf. Gyd â ni y mae y rhan fwyaf yn gobeithio yr ânt i'r nefoedd am eu bod yn meddwl nad ydynt yn llawn ddigon drwg i fyned i uffern, ac ambell Gristion go dda yn ofni yr aiff efe i uffern am nad ydyw yn gweled ei hun yn ddigon da i fyned i'r nef. Nid oes gan y Protestaniaid unlle yn y byd arall yn yr hwn y gall dynion diddrwg-didda ymddadblygu yn ddynion da. Y maent hwy yn credu; *h. y.*, mewn rhai rhanau o'r deyrnas hon, y rhaid i ddŷn nid yn unig dderbyn iachawdwriaeth yn y byd hwn, ond hefyd lwyr orphen ei addysc ynddo hefyd.

Os mŷn rhai o honoch ymchwilio ym mhellach i'r pethau hyn, cychwynwch oddi wrth y gosodiadau sicr hyn; sef, nad ydyw Duw wrth faddau i ddŷn ddim yn ymrwymo i beidio â chospi dim arno. Fe faddeuwyd i Dafydd ei droseddau, er hynny fe'i blinwyd ef o'u plegid hyd ei fedd. Yn ail, ychydig o saint sy'n marw yn berffaith. Yn drydydd, nid eiff neb i'r nef hyd oni bydd efe wedi ei berffeithio. Perffeithrwydd y plentyn, y mae'n wir, ac nid perffeithrwydd y dŷn a fydd perffeithrwydd y saint hyd yn oed yn y nefoedd, canys fe fydd lle i'r perffeithiaf gynnyddu yn oes oesoedd. Ond y mae'n well gennyf fi roi i'r ymadrodd "y byd sydd yr awr hon" ystyr arall sy'n yscoi pob anhawsder, sef hwnyma:—"y byd fel y mae." Dysced dynion fyw yn santaidd yn yr amgylchiadau y maent ynddynt ar y pryd, heb ddisgwyl am amgylchiadau mwy manteisiol, nac am fyd gwell, oddi eithr y byd a agora'r Barnwr ini yn ei ail ddyfodiad.

Yn ail. *Ymddanghosiad gogoniant Duw.* Ymddanghosiad gogoniant Duw Dad yn ei Fab, medd rhai, ond y mae'n well gennyf fi ddilyn yr esponwyr sy'n dywedyd mai yr un un ydyw'r Duw mawr a'n Harglwydd Iesu Grist. Fe ymddanghosodd unwaith yn ddŷn bach wedi ei

rwymo mewn cadachau, ond fe ymddengys yr ail waith yn Dduw mawr, wedi ymwisco â gogoniant. Ychydig a'i gwelodd ef ynghorff ei waeledd, ond fe'i gwêl pawb ef ynghorff ei ogoniant. Fe ymddanghosodd y waith gyntaf er dwyn iachawdwriaeth i enaid dŷn, ond fe ymddengys yr ail waith er iachawdwriaeth gyflawn i'r rhai sy'n ei ddisgwyl. Ië, i'r rhai sy'n ei ddisgwyl; canys er yr ymddengys efe yn Dduw mawr i bawb, pa un bynnag a fyddont yn ei ddisgwyl ai peidio, i'r rhai sy'n ei *ddisgwyl* yn unig yr ymddengys efe yn Iachawdwr Iesu Grist. Disgwyl am dano ef sy'n profi *gael* o honom ni iachawdwriaeth eisys, a hynny sy'n dwyn ini iachawdwriaeth helaethach, ac wrth ddisgwyl y cawn ni yn y man iachawdwriaeth berffaith.

"Trwy obaith," medd y Beibl, "y'n iacheir." "Gobeithiwch yn berffaith," medd Pedr, "am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist." Eithr ni ellir gobeithio yn *berffaith* heb geisio byw yn berffaith. Ni ellir iawn *ddisgwyl* dyfodiad dydd Duw heb hefyd frysio atto, neu'n hytrach ei brysuro ef trwy fywyd santaidd. Y dŷn da sy'n disgwyl—hwnnw a *geiff* ddisgwyl, hwnnw a fedr ddisgwyl; ïe, hwnnw a fŷn ddisgwyl. Y mae yn naturiol i bawb ddisgwyl rhywbeth gwych i ddyfod. Y mae y plentyn a'r dŷn, y duwiol a'r annuwiol, oll fel eu gilydd, yn bwrw angor gobaith ymhell i'r dyfodol; ond y rhai y mae gras yn eu dyscu i fyw yn santaidd sy'n disgwyl am ymddanghosiad y Duw mawr. I bawb eraill, rhyw ddisgwyl am farnedigaeth, ac nid gobaith gwynfydedig, a fyddai disgwyl ei ymddanghosiad ef. Ond y mae y saint ymhob oes yn caru ei ymddanghosiad ef. Bywyd o ddisgwyl am ei ymddanghosiad ef ydyw eu bywyd hwy ar y ddaear. Am eu bod yn disgwyl hynny, y maent yn gallu dygymmod cystal â llymder eu haddysc neu â noethder y byd

sydd yr awrhon. Y maent yn goddef pob dim, ac yn gwneuthur pob dim gan ddisgwyl—ymwadu gan ddisgwyl, byw yn santaidd gan ddisgwyl, huno yn yr angau gan ddisgwyl, a deffro yn y farn gan ddisgwyl. Yn wir, y mae'r saint tlottaf yn byw yn weddol gysurus ar ddisgwyl yn unig.

A oeddet ti yn teimlo gynnau, pan oeddwn i'n sôn am ymwadiad a sobrwydd a chyfiawnder, fod crefydd yn galedwaith sychlyd iawn? Ni raid iddi ddim bod felly i'th deimlad di, os ydyw hi felly ynddi ei hunan, o blegid y mae yn rhydd iti wneuthur pob caledwaith "gan ddisgwyl," a phwy a gofiai fod y gwaith yn drwm wrth edrych ar daledigaeth y gwobrwy? "Ond nid am wobr," medd rhywun, "y mae y testyn yn sôn, eithr am ymddanghosiad Iesu Grist, a pha beth a fydd hynny i mi?" O! pe baet ti yn eiddo Crist, ti a deimlet mai gweled dy Waredwr yn ei ogoniant a fyddai'r peth mwyaf amheuthyn iti o ddim. Yn wir, ti a ddylet awyddu am ei weled ef yn anad neb, yn unig o blegid yr hyn a wnaeth efe erot ti pan ymddanghosodd efe y waith gyntaf.

"Gwel'd yr hwn fu'n prynu pardwn,
Prynu pardwn maith y byd."

Pa weled mwy bendigedig na hwnnw? Eithr nid er mwyn derbyn diolch ac anrhydedd gennyt ti am yr hyn a wnaeth efe y waith gyntaf yr ymddengys efe yr ail waith. Efe a ymddengys hefyd er mwyn cyflawni dy lawenydd di; canys wrth ddisgwyl am ei ymddanghosiad ef yr wyt ti'n gobeithio am rywbeth gwynfydedig, mor wynfydedig fel y gelwir y gobaith ei hun felly. Gwynfyd—gwyn fyd a fydd y rhywbeth hwnnw. Gogoniant ymddanghosiad yr Iachawdwr a dry y byd yn

wyn, a hawdd dioddef adfyd pan fo gwynfyd yn y golwg. Pa ham y sonir am wynfydedigrwydd y saint ynglŷn âg ymddanghosiad eu Hiachawdwr? Am mai ei ymddanghosiad ef a fydd dechrau y nefoedd, ac am mai efe a fydd byth yn gwneyd y nefoedd yn nefoedd. "Pwy sy gennyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ar y ddaear ni ewyllysiais neb gyd â thydi."

Yn ddisymmwth y daw yr Arglwydd, er hynny ni ddaw efe ddim heb ei ddisgwyl gan laweroedd. Parhaed y gwatwarwr i ofyn ei hên gwestiwn etto, ni phaid y Cristion â sefyll ar ei ddisgwylfa ac ymsefydlu ar y tŵr, ac o'r diwedd fe ymddengys arwydd Mab y dŷn; a'r dydd hwnnw y dywedir:—"Wele, dyma'n Duw ni; gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw; dyma'r Arglwydd, gobeithiasom ynddo; gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef."

## XX.

## DYLANWAD DA DISGWYLIADAU UCHEL.

"*Trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid, megis mewn tir dieithr, gan drigo mewn lluestai gyd âg Isaac a Jacob, cyd-etifeddion o'r un addewid; canys disgwyl yr ydoedd am ddinas âg iddi sylfaeni, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw.*"—HEBREAID xi. 9, 10.

ER fod yr athrawiaeth am fywyd ar ol hwn yn fwy an-amlwg ynghrefydd cenedl Israel nag oedd hi ynghrefyddau cenedloedd eraill, a'i bod yngolwg y dosparth parchusaf o'r Iddewon yn athrawiaeth newydd a dieithr nad oedd yr Israeliaid yn ei chredu hyd onid aethant dan ddylanwad y Persiaid a'r Groegiaid, etto y mae awdwr y llythyr hwn, yn gyttunol â barn Phariseaid Palestina a'r Iddewon gwascaredig a elwid yn Helenistiaid, yn bwrw fod gan y patriarchiaid—y prif batriarchiaid, o leiaf—ryw syniad am sefyllfa ddyfodol, a bod y syniad hwnnw yn ddigon cryf i roi cyfeiriad i'w bywyd ar y ddaear.

Heb ymdroi i ymofyn pa mor bennodol ydoedd y syniad hwnnw, ni a ymroddwn am ychydig amser i sylwi yn unig ar hyn o beth, sef dylanwad ein disgwyliadau ar ein hymddygiadau; neu ddylanwad ein syniad am y nef ar ein buchedd ar y ddaear. "Trwy ffydd yr ymdeithiodd Abram yn nhir yr addewid megis mewn tir dieithr, gan drigo mewn lluestai; *canys* disgwyl yr ydoedd efe am ddinas âg iddi sylfaeni;" neu yn fanylach, "Trwy ffydd

yr ymdeithiodd efe fel pererin yngwlad yr addewid, megis mewn gwlad estronol, gan drigo mewn pebyll; canys disgwyl yr ydoedd efe am y ddinas âg iddi'r sylfaeni, cynllunydd a gwneuthurwr yr hon yw Duw." Efe a ymdeithiodd fel pererin yngwlad Canaan am ei fod yn disgwyl ymsefydlu mewn gwlad well. Efe a gyfrifodd wlad yr addewid yn wlad estronol, am ei fod yn credu mai o'i flaen ac nid o'i ol yr oedd ei briod wlad, sef hên wlad ei dadau. Yr oedd efe yn trigo mewn pebyll simsan am ei fod yn disgwyl dinas gadarn. Yr un modd, meddir yn y bennod hon, yr oedd ei fab a'i ŵyr yn byw. Cyfaddef yr oeddynt hwythau mai dieithriaid a phererinion oeddynt ar y ddaear. Fel dieithriaid, hwy a gydnabyddent eu bod mewn gwlad estronol; fel pererinion hwy a gydnabyddent nad oedd ganddynt ddim meddiant parhaus ynddi. Tir dieithr a gwlad ymdaith oedd y ddaear oll iddynt hwy. Nid y wlad dda, eithr gwlad well yr oeddynt hwy yn ei chwennych; *h.y.*, un nefol. Ni phrysurodd y patriarchiaid i ddwyn i ben y peth a addewsid iddynt; eithr aros yn amyneddgar a wnaethant hyd oni welai Duw yn dda gyflawni ei addewid yn ei ffordd a'i amser ei hun. Yn sicr, nid oedd efe yn eu siommi wrth roddi iddynt beth gwell yn lle peth da. Am Lot, chwennychu a cheisio'r peth da a wnaeth efe yn fwy na'r peth gwell. Lot a ddewisodd iddo holl wastadedd yr Iorddonen, ac a drigodd yn *ninasoedd* y gwastadedd, ac wrth hynny efe a niweidiodd ei gymmeriad a'i amgylchiadau hefyd. Trigo mewn pebyll a wnaeth Abram, ac wrth geisio'r nef ni thlododd efe mohono ei hun ar y ddaear. Yr oedd gan y gŵr weision ac anifeiliaid lawer; ac nid oedd Duw yn gorchymmyn iddo symmud i unman nad oedd yno borfa i'w ddefaid a'i wartheg. Gwir nad oedd ucheldir Hebron ddim mor ddyfradwy a gwastadedd yr Iorddonen; ond yn y man fe ddaeth gormod o ddwfr

dros y gwastadedd hwnnw. Gwir nad oedd hi ddim mor gynnes ym Mamre ag oedd hi yn ninas Sodom; ond yn y man hi a aeth yn rhy gynnes yn y ddinas honno. Fel rheol y mae bywyd o ufudd-dod i Dduw, yn y pen draw, yn fywyd manteisiol i'r dŷn ei hun. Os nad yw efe, mwy nag Abram, yn cael y cwbl, nid yw yn peryglu'r cwbl fel y gwnaeth Lot. Wrth geisio'r nef, y mae efe yn cael cymmaint ag sy fuddiol iddo o'r ddaear hefyd.

Disgwyl yr ydoedd Abram am ddinas âg iddi sylfaeni; ac am hynny yr ymfoddlonodd efe i drigo mewn pebyll bregus a symmudol. Trwy *ffydd* yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid gan drigo mewn lluestai; ac nid oedd y ffydd honno wrth weithredu ar bethau da i ddyfod ddim amgen na disgwyliad; ac nid oedd y disgwyliad drachefn ddim amgen na gobaith ar waith—gobaith yn gweithredu yn gryf ac yn gysson. Y mae yn wir fod ffydd yn gweithredu ar fwy o bethau na gobaith. Y mae pob peth a'r a ddadguddiwyd yn bethau i'w credu, pa un bynnag ai pethau da ai pethau drwg; pa un bynnag ai pethau a fu, y sydd neu a fydd; pa un bynnag ai pethau a berthyn i ni ai pethau a berthyn i eraill—y mae yr holl bethau hyn yn wrthrychau ein ffydd; ond pethau da, a phethau i ddyfod â phethau a berthyn i ni ein hunain yw gwrthrychau gobaith. Yr ŵyf yn credu fod Duw yn anfeidrol, ond nid ŵyf yn gobeithio ei fod yn anfeidrol. Yr ŵyf yn credu fod uffern, ond nid ŵyf yn gobeithio fod uffern. Yr ŵyf yn credu *fod* nef am fod gennyf ffydd; yr ŵyf yn disgwyl myned i'r nef am fod gennyf obaith.

Am hynny, y mae yn iawn dywedyd, ar bwys yr adnod flaenaf o'r bennod hon, nad yw ffydd y bo ei golwg ar bethau da i ddyfod yn ddim amgen na disgwyliad; *h.y.*, yn ddim amgen na gobaith cryf a pharhaus. Y mae'r

ffaith noeth fod pob duwiol yn disgwyl nef yn profi fod nef yn bod. Y mae gobaith y saint yn gwarantu gwirionedd y peth y maent yn ei obeithio. "Gobaith ni chywilyddia;" *h.y.*, ni chywilyddia neb trwy ei siommi. Y mae dywedyd fod gobaith yn siommi dŷn yr un peth a dywedyd fod Duw yn ei siommi; canys Duw a ddododd obaith yn ei fynwes ef. Ac a ydyw yn rhesymmol meddwl fod Duw wedi creu yn ei greaduriaid ryw ddisgwyliadau nad yw efe yn bwriadu eu cyflawni? Y mae yn wir fod gobaith gau—gobaith a gywilyddia ei berchennog, gobaith a ddiffydd yn angau; ond nid yw Duw yn gyfrifol am y gobaith hwnnw. Eithr am bob gobaith a ddododd y Creawdr yn ei greaduriaid, a phob gobaith da trwy ras a ddododd efe fel Gwaredwr yn ei saint, ni siomma hwnnw neb. Y mae'r cyfryw obaith ag sy gyffredin i feibion dynion, a'r gobaith sy briodol i blant Duw yn obaith â gwrthrych iddo, ac yn obaith sydd ynddo ei hun yn sicrwydd fod y gwrthrych yn bod.

Ond er fod gobaith y saint am rywbeth dyfodol ac anweledig yn profi fod y peth hwnnw yn bod, etto nid yw hynny yn profi ei fod yn bod fel y maent hwy yn meddwl am dano. Er engraifft, nid ydynt yn cyfeiliorni wrth ddisgwyl am ymddanghosiad y Barnwr, am adgyfodiad y meirw, ac am nef dragwyddol; er hynny, hwy a allant gyfeiliorni yn eu *syniad* am y pethau hyn. Pa bryd ac ym mha ddull yr ymddengys y Barnwr? Pa *fodd* y cyfodir y meirw? Pa fath nef a fydd y nef yr ydys yn ei disgwyl? Dyma holiadau na roddwyd ac na ellir rhoddi atteb iddynt oddi eithr mewn ffigyrau; ac er y gellir maddau i'r beirdd a'r paentwyr sydd yn troi y ffigyrau Iddewig hyn yn ddarluniau, ni ellir maddau i'r duwinyddion sydd yn eu troi yn athrawiaethau. Yn ysprydol ac nid yn anianol y dylid synio am y pethau

hyn; am hynny pan y mae'r apostolion yn llefaru yn eglur ac nid ar ddammegion, addef y maent, "Nid amlygwyd etto beth a fyddwn."

Ond os yw ein cyflwr yn y corff yn rhoi math o orfod arnom i synio yn anianol am y pethau yr ydym yn eu disgwyl, da a fyddai ini fel Abram synio'r cyfryw syniad am danynt ag a ddylanwado yn ddaionus ar ein buchedd ar y ddaear. Er nad dinas o goed a cherryg ydyw'r nef, ac nad oes iddi sylfaeni matterol, etto y mae iddi sefydlogrwydd dinas, ac y mae hi yn cynnwys cymdeithas o bobl sydd yn ddarostyngedig i'r un deddfau, ac yn mwynhau yr un rhagor-freintiau. Cofier fod y ddinas gadarn, gynt, yn deyrnas âg iddi ei brenin a'i llys; ac yr oedd Abram wrth synio am y nef fel dinas yn synio yn ëangach am dani na phe buasai yn synio am dani fel tŷ neu gartref; ac am fod ei syniad mor ëang yr oedd yn syniad iachus hefyd. Yr ydys yn wir yn synio am y nef fel lle cyssurus wrth synio am dani fel tŷ; ond y mae'r syniad hwnnw arno ei hun yn syniad rhy deuluol, rhy bersonol, rhy hunangar. Dinas—dinas sydd yn deyrnas yw'r nef; teulu mawr sydd yn gyd-gascliad o deuluoedd lawer yw ei chymdeithas hi. Y mae cenedloedd yr ynys hon yn edliw i'r Ffrangcod nad oes ganddynt hwy gartref, nac un gair yn eu hiaith yn dynodi cartref, ac nad yw eu tai hwy fawr amgen na lleoedd i gyscu ynddynt. Y mae cryn lawer o wir yn yr edliwiad; ond hawdd y gallai'r Ffrangcod edliw i ninnau nad oes gennym un ddinas, nac felly ddim cymdeithas, ac nad yw ein tai ni ond math o gellau i'n gwahanu oddi wrth ein gilydd; ein bod wrth fwytta ac ymddiddan ac ymddifyrru yn ein cylch bach ein hunain, yn byw *i* ni ein hunain; nad yw'r dosparth isaf yn ein plith ni ddim yn cael cyfle i ymgymmyscu â'r dosparth uchaf, nac felly i ddyscu dim ganddynt mewn

moesau na gwybodaeth; mai mewn clybiau oeraidd y mae'r cyfoethogion yn ymgyfarfod, ac mai mewn tafarnau isel y mae'r tlodion yn ymgyfarfod; ac mai mewn rhedegfeydd a chwaryddiaethau cyhoeddus yn unig y mae'r ddau ddosparth yn ymgyfarfod â'u gilydd; ac nad oes dim cymdeithas rhyngddynt yn y rheini chwaith, ac mai canlyniad hyn oll ydyw fod boneddigion Brydain yn falchach na boneddigion un wlad arall, a gwerin Brydain yn fwy anfoesgar ac yn fwy anneallus na gwerin un genedl arall.

Yn awr, pa beth bynnag sy ragorol ynghartref y Brytaniad, a pha beth bynnag sy ragorol yn ninas y Ffrangcwr, y mae'r ddau beth yn ymgyfarfod yn y nef. Un teulu, y mae yn wir, sydd yn y nef; ond teulu mawr ydyw, yn cynnwys tyrfa aneirif o deuluoedd mân. Gwir y gelwir y nef yn dŷ, ond tŷ ydyw âg ynddo lawer o drigfannau—tŷ tebyg i'r tai Ffrengig yr ydys yn dechrau eu codi yn Llundain, lle y mae llawer teulu yn byw dan yr un tô, a phob teulu yn ymgyfarfod i fwytta mewn un ystafell gyffredin; yn hytrach, tŷ âg ynddo lawer o dai—tŷ sydd yn ddinas, a dinas sydd yn deyrnas.

Yn awr, wrth synio am y nef fel dinas, sef fel dinas frenhinol, yr oedd Abram yn synio am dani fel gwladwriaeth—fel teyrnas a ddarparwyd i deuluoedd lawer, ac nid i'w deulu ef ei hun yn unig; ac wrth synio am dani fel dinas âg iddi sylfaeni, yr oedd efe yn synio am dani fel teyrnas ddi-sigl, ac felly fel teyrnas dragwyddol. Yr oedd y syniad blaenaf yn ei alluogi i fod yn fendith i eraill, yn ol ordeiniad Duw, yr hwn a ddywedodd, "Mi a'th fendithiaf, a thi a fyddi yn fendith; holl genedloedd y ddaear a fendithir ynot ti." Yr oedd yr ail syniad yn ei gymmell i fyw *yn* y byd heb fyw *i'r* byd; i arfer y byd

hwn heb ei gam-arfer, ac i ymdeithio yngwlad Canaan fel dinesydd gwlad arall a gwell. Ni raid i bawb, ac yn wir nid yw yn naturiol i bawb, synio am y nef fel yr oedd Abram yn synio am dani; ond pa beth bynnag a fyddo ein syniad am dani, ef a ddylai fod yn gyfryw syniad ag a ddylanwado yn ddaionus ar ein buchedd ar y ddaear; canys er mwyn ein gwellàu yn y byd hwn y dywedwyd ini bob peth a'r a ddywedwyd am fyd arall. Ai er mwyn porthi yspryd chwilfrydig y dywedwyd wrthym fod yn rhaid i'r nefoedd a'r ddaear gyd-ymollwng? Nagê, eithr er mwyn dangos ini pa ryw fath o ddynion a ddylem ni fod mewn santaidd ymarweddiad a duwioldeb. Ai er mwyn goglais ein teimlad yr addawyd ini nefoedd a daear newydd? Nagê, eithr er mwyn ein cyffroi i wneuthur ein gorau ar ein cael ganddo ef yn ddi-frycheulyd ac yn ddi-argyhoedd.

Os ydym ni yn ol ei addewid ef yn disgwyl nefoedd a daear newydd, y mae'r nefoedd a'r ddaear hynny yr un ffunud yn disgwyl creaduriaid newydd. I obaith bywiol ac nid i obaith marw y'n hadgenedlwyd ni—i obaith sy'n rhoddi bywyd ysprydol yn ein bywyd anianol. Y syniad mwyaf ysprydol am y nef yw'r syniad mwyaf dylanwadol. Pa fath obaith sydd yn santeiddio yr enaid? Y gobaith am weled yr Iesu megis ag y mae, a bod yn gyffelyb iddo. Y mae pob un sydd ganddo'r gobaith hwn yn ei buro ei hun, megis y mae yntau yn bur. Er ein bod yn cyfrif ein hunain yn Brotestaniaid goleuedig, etto y mae'r nef y mae llaweroedd o honom yn ei disgwyl mor anianol a nef yr hên Babyddion, yr hên Buritaniaid a'r Mohametiaid. Pa beth, attolwg, y mae'r plantos hyn yn ei obeithio? Cael eistedd yn ddioglyd mewn gŵn gwyn ar lan afon ynghanol y blodau ac yn nghyscod y coed i wrando ar yr adar yn canu, ac i edrych

ar y pyscod yn chwarau, heb wneuthur dim eu hunain, namyn twmpian telyn. Diogi ydyw achos disgwyliad o'r fath yma, a diogi mwy ydyw ei effaith hefyd.

Ceisiwn ym mlaenaf oll *synio* yn deilwng am y nef; ac ar ol iawn-synio am dani, disgwyliwn am dani. Y mae ein disgwyliadau yn well prawf o'r hyn ydym hyd yn oed na'n gweithredoedd. Nid y pethau yr ydym yn eu hewyllysio yr ydym yn eu gwneuthur bob amser; canys y mae defod ac arfer y byd, a dylanwadau oddi allan yn fynych iawn yn ein hattal rhag gweithredu yn ol ein hewyllys. Y mae rhai yn gwneuthur da yn unig am fod eu cymmydogion yn gwneuthur da, ac eraill yn gwneuthur drwg yn unig am fod eu cymmydogion yn gwneuthur drwg. Felly, y mae llawer o'n gweithredoedd yn hytrach yn ffurfiol nag yn egwyddorol. Ond nid oes neb na dim yn ein hattal rhag disgwyl y peth a fynnom. Y mae ein disgwyliadau gan hynny yn byrlymmu yn naturiol o eigion ein càlon. Dywedwch chwi pa beth yr ydych yn ei ddisgwyl, a minnau a ddywedaf pa beth ydych o ran eich cymmeriad.

Y mae'r gobaith am weled yr Iesu megis ag y mae, nid yn unig yn puro'r gobeithiwr, ond hefyd yn dangos fod y gobeithiwr eisys yn bur hyd ryw fesur; canys dŷn pur sy yn chwennychu bod yn berffaith bur. Y mae'r disgwyliad am fyd gwell yn yr hwn y mae cyfiawnder yn cartrefu nid yn unig yn *gwneuthur* y disgwyliwr yn gyfiawn, ond hefyd yn dangos fod y disgwyliwr eisys *yn* gyfiawn; canys y cyfiawn yn unig sy'n caru cyfiawnder. A ydych yn dymuno myned i wlad y goleuni—i'r wlad santaidd, yn unig am ei bod yn santaidd? Os felly, chwi a gewch fyned iddi; canys yr ydych yn gymmwys i fyned iddi. A oes arnoch ofn uffern—nid ofn poen uffern yr ŵyf yn ei

feddwl, eithr cymdeithas uffern, ofn anghyfiawnder uffern, ofn aflendid uffern, ac ofn y rhyddid a roddir i bob un o'i phreswylwyr i wneuthur ei ewyllys ei hun, ac i fyned rhagddo byth ar hyd ei ffordd ddrygionus ei hun? A oes arnoch ofn myned i'r wlad lle y mae'r chwant i bechu a'r cyfleusdra i bechu yn gymmaint a'r boen *am* bechu? Os felly, nid uffern yw'r lle cymmwys i chwi. Nid gwlad felly yr ydych chwi yn ei chwennych nac yn ei disgwyl. Cyn sicred a bod Tabor yn y môr, a Hermon yn y mynyddoedd, chwi a gewch yn y byd arall y peth yr ydych yn ei ddisgwyl yn y byd hwn. Os chwennychu yr ydych fara o'r nef, fe roddir i chwi fara, ac ni flinwch byth arno; ond os blysio cig yr Aifft yr ydych, chwi a'i cewch, ac a'i bwyttewch, hyd oni ddêl allan o'ch ffroenau, a'i fod yn ffiaidd gennych. Blant Duw, chwi a gewch eich gwala a'ch gweddill o fara yn nhŷ eich Tad. Blant diafol, od oes yma rai, cewch chwithau fwy na digon o'r hyn yr ydych yn ei flysio yn nhŷ eich tad chwithau.

Disgwyliad ydyw y rhaff a'n tŷn i fyny i'r nef, neu ynte a'n tŷn i lawr i uffern; ac er ei bod yn rhaff fain, y mae hi yn rhaff gref iawn. Disgwyl am obaith gwynfydedig y mae'r duwiol; ond rhyw ddisgwyl ofnadwy am farnedigaeth sydd yn yr annuwiol pan ballo ei ddisgwyliad am rywbeth amgenach. Ond braidd y mae disgwyl ofnadwy yn haeddu ei alw yn ddisgwyliad; canys nid ofn y mae disgwyliad yn ei gynnwys, eithr gobaith ac awyddfryd. Pwy sydd yn disgwyl am ymddanghosiad y Duw mawr? Y rhai a garant ei ymddanghosiad. Pwy sydd yn disgwyl gwlad well? Y rhai sydd yn chwennychu gwlad well. Gobaith cryf yw disgwyliad, ac y mae gwrthrych y gobaith hwnnw megis angor yr enaid yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen. Os tynni yn y rhaff sydd yn cydio dy enaid wrth yr angor, ni symmudi di mo'r angor,

eithr ti a symmudi dy hun tuag at yr angor. Na phrydera ddim ynghylch yr angor—y mae hwnnw wedi ymfachu yn sicr ac yn ddiogel yn nhraeth cadarn tragwyddoldeb. Os rhaid iti bryderu o gwbl, prydera ynghylch y rhaff. A ydyw dy ddisgwyliad yn gryf? A oes gennyt obaith da trwy ras? Mi a ofynnaf iti a wyt yn *credu* y byddi yn gadwedig yn y diwedd; canys y mae dynion gwell na thi a minnau yn ammharod ar amserau i atteb y cwestiwn hwn. Gofyn a wnaf iti gwestiwn haws:—A wyt ti yn gobeithio, ac yn disgwyl yn ddistaw am iachawdwriaeth yr Arglwydd? Os ydwyt, y mae yn dda gennyf ddywedyd wrthyt fod Duw wedi cyssylltu bywyd tragwyddol â gobaith. Trwy obaith y'n hiachawyd; neu, yn gywirach, trwy obaith y'n hachubir. Y mae gobaith yn unig—y mae darn o ffydd yn ddigon i'th gadw. Y mae llaweroedd wedi myned i mewn i'r ddinas nefol yn unig wrth ddisgwyl am dani.

Y mae crefyddwyr basaf y dyddiau hyn yn chwannog iawn i sôn am sicrwydd; ond da fyddai ini gofio nad yw sicrwydd y Cristion wedi'r cwbl yn ddim amgen na sicrwydd ffydd, sicrwydd gobaith. Pethau yr ydys yn eu disgwyl ar y gorau ydyw yr holl bethau mawr a dymunol a addawyd ini yn y byd tragwyddol. Pa brawf sydd gennyf fod y cyfryw bethau yn bod? Y ffaith noeth fod pobl orau Duw yn eu disgwyl. Os gwnaeth y Creawdr y naill beth ar gyfer y llall, y mae yn rhesymmol ini gredu fod yr hwn a greodd ddisgwyliadau yn ei greaduriaid wedi darparu rhyw bethau i gyflawni'r disgwyliadau hynny. Fe ddododd Duw ddwy gynneddf werthfawr yn fy enaid, sef côf i edrych yn ol a gobaith i edrych ym mlaen. Y mae gobaith yn gweled ym mhellach o lawer na'r côf, a phwy ŵyr nad yw efe yn gweled cyn eglured hefyd. Ni ryfeddwn i ddim na bydd rhyw wyddon neu athronydd,

wedi yr elo yr oes fatterol hon heibio, yn ymroi i brofi fod y pethau yr ydys yn eu gobeithio mor wirioneddol a'r pethau yr ydys yn eu cofio; canys pa beth ydyw adgofion dŷn ond lluniau y pethau a fu ar y llygad sydd yn edrych yn ol, a pha beth ydyw gobeithion dŷn ond lluniau y pethau a fydd ar y llygad sydd yn edrych ym mlaen?—argraffiadau y byd tragwyddol ar enaid y neb sy'n edrych tuag atto. Onid hyn o beth y mae yr adnod ryfedd hon yn ei ddywedyd, "Duw a osododd y byd;" neu yn hytrach, Duw a osododd dragwyddoldeb ynghalonnau meibion dynion? Pe gofynnai anghrediniwr i hên Gristion syml pa fodd y gŵyr efe fod nef accw, efe a ddywedai wrtho, "Am fod nef yma yn fy nghalon; am fod llun y nef o'm mewn; ar air, am fy mod yn ei disgwyl."

Disgwyl am ddinas âg iddi sylfaeni yr oedd Abram a'i deulu; ac er na chawsant mo'r nef yn gyfryw ddinas ag yr oeddent hwy yn synio am dani ar y ddaear, etto y mae yn sicr na siommwyd monynt, er gwaeth beth bynnag. Gan nad beth a ddaeth o'u syniad, hwy a gawsant eu dymuniad, a mwy na'u dymuniad; ac am hynny y mae yn hawdd gennyf dybygu eu bod bellach yn canu cân arall, heb law cân Moses a chân yr Oen, sef cân Paul, gan ddywedyd, "I'r hwn a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno neu yn eu meddwl, iddo ef y byddo'r gogoniant dros yr holl genedlaethau, hyd yn oes oesoedd, Amen." Os siommir y saint yn y nef, eu siommi er gwell a gânt. Hwy a gânt eu gwlad well yn well fyth, a'u dinas nefol yn fwy nefol na'u disgwyliad. Fel y bydd y corff ysprydol yn rhagori ar y corff anianol, felly y bydd y nef ysprydol yn rhagori ar y nef fwy neu lai anianol yr ydym ni yn ei disgwyl. Nid oedd Abram yn synio yn wael am y nef wrth synio

am dani fel dinas frenhinol ac fel dinas gadarn. Disgwyl yr ydoedd efe am ddinas âg iddi sylfaeni; neu yn hytrach, am *y* ddinas âg iddi *y* sylfaeni. Yngolwg Abram, dyma'r unig wir ddinas; dyma'r unig wir sylfaeni. Nid oes dinas arall heb law hon ; nid oes sylfaeni eraill heb law y rhain. A pha ryfedd fod y ddinas nefol yn ddinas ddigyffelyb, gan mai Duw ei hun ydyw ei chynllunydd a'i gwneuthurwr? Hon ydyw yr unig ddinas a wnaeth y Brenin Mawr. Dynion a wnaeth bob dinas ddaearol ; ac er fod Paris yn deg a Llundain yn fawr, etto nid yw maint y naill a thegwch y llall yn ddim wrth faint a thegwch y ddinas nefol. O! nid yw dinasoedd y creadur ond megis twmpathau morgrug wrth ddinas y Creawdr. Nid oedd ryfedd i Abram ddiystyru Sodom a Sichem a Hebron, a pharhau i drigo mewn lluestai—disgwyl yr ydoedd efe am *y* ddinas; ïe, y ddinas âg iddi *y* sylfaeni. Dyma'r unig ddinas a saif yn ddi-sigl pan fydd y ddaeargryn olaf yn chwalu gwaith creaduriaid mân y llawr.

Er imi ddywedyd fod dŷn yn byw ar y ddaear yn ol y syniad a fo ganddo am y nef, etto y mae hyn hefyd yn wir, sef fod dŷn yn chwannog i synio am y nef yn ol ei gyflwr ar y ddaear. Y mae yn naturiol i'r blinedig synio am dani fel gorphwysfa ; i'r di-gartref synio am dani fel tŷ'r Tad, ac i'r tlawd a'r dirmygedig synio am dani fel teyrnas. Hwyrach mai bywyd ansefydlog Abram yn y byd hwn a barodd iddo yn gyntaf oll chwennychu dinas sefydlog yn y byd arall; ac felly ddarfod i'w fywyd ef ar y ddaear ddylanwadu ar ei syniad am y nef cyn i'w syniad am y nef ddylanwadu ar ei fywyd ar y ddaear. Y mae yn naturiol, meddaf, i bob dŷn chwennychu cael yn y byd a ddaw y peth y mae arno fwyaf o angen am dano yn y byd presennol; ac yn wir, ni bydd y nef yn wlad well oni bydd hi yn cyflawni pob diffyg a'r sydd yn y wlad yr ydym

ynddi. Pererinion, wedi laru ar eu pebyll bregus, ac ar eu bywyd ansefydlog, oedd y patriarchiaid; ac am hynny yr oedd yn naturiol iddynt hwy ddychmygu am y nef "fel dinas âg iddi sylfaeni, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw;" a chan mai nefoedd felly yr oeddynt yn edrych am dani, nefoedd felly a gânt. Dŷn llafurus a helbulus oedd Richard Baxter; ac am hynny yr oedd yn naturiol iddo ef synio am gartref y saint fel *Everlasting Rest*—fel tragwyddol orphwys; a chan mai gorphwys a fynnai efe, gorphwys a gaiff efe. Dŷn dwys myfyrgar oedd John Howe; ac am hynny fe geisiodd ef brofi mai *Delight in God*—mai ymhyfrydu yn Nuw a fydd gwynfyd y gwaredigion; a chan mai astudio'r Duwdod oedd ei ddifyrrwch, astudio'r Duwdod a fydd ei ran. Yn ddïau, fe fydd y nef yn bob peth y dymuna y rhai mwyaf ysprydol iddi fod.

Pe gofynnai un o'r rhai duwiolaf o honoch i'r Iesu, "Pa fath nefoedd a gaf?" dywedyd a wnai efe, "Bydded iti fel yr wyt yn ewyllysio." Ai rhodio yn alarus yr ydwyt trwy orthrymder y gelyn? Dos i mewn ynte i lawenydd dy Arglwydd. Os caru byw yn dawel yr ydwyt, o gyrraedd twrf y byd, ti a gei y nef yn breswylfa heddychlon, ac yn orphwysfa lonydd. Os gwell gennyt fywyd prysurach y ddinas, ti a'i cei hi yn Gaersalem nefol, yn ddinas y Brenin Mawr. Nefoedd i foddloni pawb o'r saint yw nefoedd Duw, a hynny sydd yn ei gwneyd yn wlad well—yn wlad heb ei bath.

Ond os yw ein bywyd daearol yn rhoi lliw neillduol ar ein bywyd nefol, pa liw y mae ein bywyd nefol yn ei roi ar ein bywyd daearol; *h.y.*, pa ddylanwad y mae ein disgwyliadau yn ei gael ar ein hymddygiadau? A ydyw disgwyl am ddinas âg iddi sylfaeni yn peri ini ymdeithio fel dieithriaid a phererinion ar y ddaear? A ydyw

disgwyl gorphwysfa dragwyddol yn y byd a ddaw yn ein cymmell i fod yn fwy gweithgar dros amser bŷr ein hymdeithiad yn y byd hwn? Os ydym yn credu fyned o'r Iesu i barottoi lle i ni, ninnau a ddylem ymbarottoi i'r lle. Gwneled Duw ni oll yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni.

*Mai 27ain, 1899.*

## XXI.

## RHEDEG YR YRFA. PAHAM, A PHA FODD?

"*O blegid hynny ninnau hefyd, gan fod cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, gan roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni; gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni; yr hwn, yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddïoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw gorsedd-faingc Duw.*"—HEB. xii. 1, 2.

AR y prif ymadroddion y seiliaf fi fy sylwadau, sef y rhain:—"O blegid hynny ninnau hefyd, gan fod cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen, gan edrych ar Iesu." Fe ddywed y rhan fwyaf o'r esponwyr fod yn y geiriau hyn gyfeiriad at yr olygfa—y theatr, gair Groeg, yr hwn a gyfieithir yn yr Actau yn orsedd, ac yn y llythyr cyntaf at y Corinthiaid yn ddrych; ond y mae hyn yn gamsyniad, canys nid yn yr olygfa—y theatr hanner cron, y byddid yn cystadlu mewn rhedeg, ond yn y rhedfa—y *stadiwm* hir-gul, yr hwn air a gyfieithiwyd yn yrfa mewn un man, ac yn ystâd mewn mannau eraill, am mai ystâd, sef 200 o lathenni, oedd hyd yr yrfa. Yr oedd un pen i'r chwareufa, a elwid yn rhedfa, yn agored; ac ar bob ochor i'r adeilad yr oedd cyfres o risiau i'r edrychwyr eistedd arnynt. Yn y pen draw, gyd â'r edrychwyr anrhydeddusaf o'i ol ac o'i ddeutu, y byddai'r barnwr yn eistedd, ac o'i flaen yr oedd y nôd, sef gâl yr yrfa.

Yn y gymhariaeth, y Barnwr ei hun, sef Iesu Grist, ydyw'r nôd, a ffyddloniaid yr Hên Destament ydyw'r edrychwyr. Fe wrthddadleua rhai nad edrychwyr y mae y gair tystion yn ei olygu, am mai tystion *i* Dduw ydyw'r ffyddloniaid, ac nid tystion *o'r* rhai sy'n rhedeg. Hyd yn oed pe bâi mesur o rym yn yr wrthddadl hon (ac nid pawb sy'n addef hynny chwaith), y mae geiriau *eraill* yn dangos mai tystion yn edrych ydynt; canys y maent, fel yr edrychwyr yn y chwareufa, wedi eu gosod o'n *hamgylch*—o'n hamgylch *ni*, ac nid o amgylch y Duw y dygasont dystiolaeth *iddo.* Yn wir, y mae yr holl gymhariaeth yn dangos mai yr hyn a wnai y gynnulleidfa yn yr yrfa Roegaidd a wna'r tystion hefyd yn yr yrfa ysprydol.

Y mae yn rhyfedd y fath drafferth y mae rhai esponwyr yn ei chymmeryd i gyfiawnhau pob peth a ddywedodd y Diwygwyr Protestanaidd yn eu ffrwst, ac i wrthwynebu pob peth a gredir yn Eglwys Rhufain. Y mae yr eglwys Gatholig o'r dechreuad yn credu fod ysprydoedd y saint yn agos; eu bod yn gweled yr hyn sydd yn digwydd ar y ddaear, ac yn ymddori yn y rhai sy'n rhedeg yr yrfa ysprydol. Rhaid i ni, medd rhai o'r Diwygwyr, ymwrthod â'r syniad hwn; canys os goddefwn i'n dilynwyr gredu fod ysprydoedd y saint yn agos, hwy a fynnant gan y saint hynny weddïo drostynt ar Dduw. Gwrthwynebwn y gwirionedd er mwyn attal y cyfeiliornadau a ddichon ddyfod o gredu'r gwirionedd hwnnw. Y fath blentyneiddiwch; ïe, y fath anonestrwydd! Y mae y nwyd wrth-Babyddol hon wedi gyrru y rhan fwyaf o scrifennwyr Protestanaidd y Cyfandir, a llawer o scrifennwyr Protestanaidd Lloegr hefyd, mor bell ar gyfeiliorn fel y maent yn gwadu'r Drindod, yn gwadu dwyfoldeb Person y Gwaredwr, yn gwadu hyd yn oed ei lendid moesol, yn gwadu ysprydoliaeth y Beibl, yn gwadu yr adgyfodiad, ac

yn gwadu uffern, yn unig am fod Eglwys Rhufain yn eu credu. Y mae yn rhydd i bob dŷn farnu drosto'i hun, meddant, ond nid yw yn rhydd i neb farnu mai gwirionedd ydyw'r hyn a gredir yn ddiammau o'r dechreuad. O bob culni, culni Protestanaidd ydyw'r un mwyaf anghysson ac annioddefol. Da chwi, gyfeillion ieuainc, na fyddwch yn gulach eich barn na phawb wrth gymmeryd arnoch fod yn rhyddach eich barn nag eraill. Ceisiwch y gwirionedd ymhob man; ac os cewch chwi hyd iddo yn Eglwys Rhufain, yn Eglwys Loegr, ym mhlith y Bedyddwyr, neu y Wesleyaid, derbyniwch ef yn llawen. Os na lenwir ni â'r yspryd hwn; os pery sect yn bwysicach yn ein golwg na'r eglwys gyffredinol; os ydym yn caru'n Cyffes Ffydd fach ein hunain yn fwy na gwirionedd ëang Duw, wn i ddim pa bryd y gallwn obeithio am undeb crefyddol; a hyd oni chawn ni yr undeb hwn, ychydig o ddylanwad a geiff Cristionogaeth yn y byd.

Er fod yn y ddwy adnod yma dyrfa o wirioneddau, ar y ddau amlycaf yn unig y sylwaf fi, sef y rhai a fwriadwyd i'n calonogi i redeg yr yrfa ysprydol. "Trwy amynedd, rhedwn yr yrfa." *Pa ham?* Am fod cynnifer o dystion yn edrych arnom. Rhedwn yr yrfa. *Pa fodd?* Gan edrych ar Iesu. Os mynnwch chwi gael y pethau hyn yn ffurf pennau, dyma nhw:—*Y tystion yn edrych ar y credinwyr. Y credinwyr yn edrych ar Iesu.*

Ym mlaenaf, *Y tystion yn edrych ar y credinwyr.* Nid yw ryfedd eu bod hwy yn edrych arnom ni, canys fe ddywedir eu bod megis cwmmwl tew yn ymwascu arnom o'r ddeutu. Os oedd hyn yn wir am saint yr Hên Destament, pan yscrifennwyd y geiriau hyn, yna rhaid ei fod yn wir am danynt etto, canys nid oes gennym achos i farnu y bu newidiad mawr ar eu cyflwr o hynny hyd yn

awr. Pan ddiscynodd yr Iesu i uffern, ac escyn o hono i'r nef, fe ellir casglu y *bu* newidiad mawr yn eu cyflwr; canys y pryd hwnnw y llawn hyspyswyd yr iachawdwriaeth iddynt, ac y derbyniasont yr addewid a wnaethid iddynt. Fe'u gosodwyd o leiaf ar yr un tir a saint byw y Testament Newydd. Fe'u gwnaed yn berffaith o'u cymharu â'r hyn oeddynt, er nad yn berffaith o'u cymharu â'r hyn a fyddant; "gan fod Duw yn rhagweled rhywbeth gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwynt hebom ninnau." Y mae y fath gyssylltiad rhwng saint y ddau fyd a'u gilydd fel nad all neb o honynt fod yn berffaith hyd oni bydd pob un yn berffaith. Gan nad beth a wnaed i saint y byd arall pan escynodd yr Iesu i'r nef, ni symmudwyd monynt o'n hymyl. Erbyn hyn y mae y cwmmwl o dystion yn fwy fyth; canys y mae lliaws aneirif wedi eu chwanegu attynt. Ym mhlith y rhai a ymunodd olaf â'r dyrfa, y mae hên gyfeillion a pherthynasau i ni; ac os nad yw y symmudiad o'r byd hwn i'r byd arall yn torri rheffynau cariad naturiol a chyfeillgarwch, yna y mae y rheini yn edrych yn graffach nag Abram a Moses arnom *ni*. Y maent yn ddïau yn llawenychu wrth weled yr Indiaid a'r Barbariaid yn rhedeg yn dda, ond y mae yn debygol eu bod yn llawenychu yn fwy wrth weled y rhai a adnabuont ac a garsont yn y cnawd yn rhedeg felly. Yr oedd y gŵr goludog, er ei fod mewn poenau, yn meddwl am ei frodyr ar y ddaear; a hwyrach fod ysprydoedd y rhai cyfiawn hefyd yn teimlo mai nes penelin na garddwrn, tra y bont heb eu perffeithio, ac yn ddigon agos i'r ddaear i weled y rhai oedd anwyl ganddynt. Wn i ddim a ydyw yspryd hên gyfaill duwiol yn gweled ei gyfaill gwrthgiliedig ar y ddaear, neu a ydyw ysprydoedd rhïeni duwiol yn gweled eu plant annuwiol. Y mae yn haws gennyf fi gredu fod Duw yn arbed eu llygaid hwy rhag gweled cyfeillion a pherthynasau drygionus, ac yn

arbed eu meddwl rhag cofio am y cyfryw rai; ond y maent yn gweled pawb sydd ar y *rhedfa*, pa un bynnag ai gwych ai gwael y byddont yn rhedeg. Cyn sicred a'th fod di yn rhedeg, y maent hwythau yn rhywle yn eistedd ac yn edrych.

Ni fynswn i er dim i'm tad fy ngweled yn gwneyd hyn, ebe rhywun. Y *mae* yn dy weled, ac yn dy weled yn well na phan oedd efe yn y corff, canys y mae yn awr yn gweled gweithrediadau dy yspryd. "Ti, O! Dduw, wyt yn edrych arnaf fi," ebe Hagar yn yr anialwch. Os wyt ti ar y clwt—yn yr *arena*, fe elli dithau ddywedyd yr un ffunud wrth ysprydoedd dy rïeni:—"Ti, O! dad, wyt yn edrych arnaf fi; ti, O! fam, wyt yn edrych arnaf fi." Ni weli *di* monynt hwy, ond y maent hwy yn dy weled di, ac yn dy glywed hefyd. Pan y byddi yn rhedeg yn bybyr, yr wyt yn eu sirioli hwynt; ond pan y byddi yn rhedeg yn fusgrell, neu ynte yn tripio, yr wyt yn eu tristàu. Ac y mae ysprydoedd y saint yn llawenhau ac yn pruddhau nid yn unig o'n plegid ni sydd yn rhedeg, ond hefyd o'u plegid eu hunain, canys wrth redeg yn dda, yr ydym yn dwyn yr adgyfodiad yn nes attynt, ond wrth redeg yn wael yr ydym yn oedi eu gobaith, ac yn estyn eu dyddiau disgwyl. Wrth beidio â bod yn ddyfal i ymberffeithio yn y byd hwn, yr ydym yn pellhau amser eu perffeithiad hwy yn y byd arall; canys ni pherffeithir hwynt hebom ni. Rhaid ein derbyn i mewn i'r nef—i'r nef oruchaf i gyd ar unwaith.

A oes rhywun yn meddwl mai siarad ar amcan yr ydwyf wrth ddywedyd fod eneidiau'r cwmmwl tystion yn tristàu? Cofier ynte mai eneidiau tàn yr allor ydynt etto, yn disgwyl amser gwell, ac heb fod yn gweled ond godrau gogoniant Duw. Plant ydynt. Y maent eisys gyd â

Christ, ond ni chant mo'i weled megis ag y mae hyd oni ymddengys efe i'w holl saint yn niwedd amser. Disgwyl y maent yn awr am yr ymddanghosiad hwnnw, ac am brynedigaeth eu corff eu hunain; a gorphwys hefyd, er mwyn casclu nerth i wasanaethu dros byth yn y nef. Y maent yn well eu cyflwr o lawer nag oeddent ar y ddaear, ond nid ydynt ddim yn gwbl foddlon; canys y mae y rhai goreu o honynt, sef ardderchog lu y merthyri, yn fynych yn llefain â llef uchel, gan ddywedyd :—"Pa hyd, Arglwydd santaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu ac yn dial ein gwaed ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" A gynau gwynion a roddwyd iddynt (i'w diddanu, y mae'n debyg), a dywedwyd wrthynt ar iddynt orphwys etto ychydig amser, hyd oni chyflawnid rhif eu cyd-weision a'u brodyr; canys ni ellid eu boddloni a'u perffeithio hwy heb y rheini. Wrth scrifennu at y Corinthiaid fe ddywedodd yr awdwr yn ei enw ei hun, ac yn enw eraill, "Yr ydym yn gweled yn dda yn hytrach fod oddi cartref o'r corff a chartrefu gyd â'r Arglwydd." Erbyn hyn, y maent wedi cael y dymuniad hwnnw, ond y maent yn awr yn dymuno peth gwell fyth—y maent yn deisyfu cael eu harwisco â'u tŷ sydd o'r nef. Ni bydd y saint yn berffaith ddedwydd hyd oni ymddengys Crist yr ail waith er iachawdwriaeth i'r rhai sydd yn ei ddisgwyl—er iachawdwriaeth eu corff yn bennaf, canys yn y corff y cânt hwy fyned i mewn i'r nef.

Onid o'r nef, medd rhywun, y mae y cwmmwl tystion yn edrych arnom? Ië, medd y Pabyddion, ac ïe medd dosparth bach o'r Protestaniaid hefyd, ac ïe a ddywedaswn innau gyd â hwynt oni buasai fod y Beibl yn dywedyd nagê. Yr oedd gan Eglwys Rhufain reswm am benderfynu fod ysprydoedd y saint perffaith yn myned i'r nef, ac ysprydoedd annuwiolion cyndyn yn myned i uffern,

cyn dydd y farn ; oblegid ar yr athrawiaeth hon y darfu iddi hi sylfaenu athrawiaeth y purdan a'r arfer o addoli'r seintiau. Y mae credu'r ddau beth hyn yn canlyn credu'r peth arall. Am hynny, pan welodd y Protestaniaid yn dda ymwrthod âg athrawiaeth y purdan, hwy a ddylasent oll, er mwyn bod yn gysson, ymwrthod â'r athrawiaeth Babyddol arall sydd yn sail iddi. Wrth ymwrthod âg un athrawiaeth ac ymlynu wrth y llall, yr oedd yn rhaid iddynt naill ai addef fod saint *amherffaith* yn myned i'r nef, neu ynte gredu eu bod yn cael eu puro a'u perffeithio yn ddisymwth yn angau, neu ar eu hediad o'r corff i'r nef; ac yn wir, yr unig wahaniaeth rhwng y Pabyddion a'r Puritaniaid ydyw fod y rhain yn credu mewn purdan bỳr yn angau, a'r rheini yn credu mewn purdan bỳr *a* hir ar *ol* angau. Yr ydwyf yn rhoi llawer iawn o bwys ar grediniaethau sydd ar unwaith yn hên ac yn gyffredinol, o herwydd y rheini fel rheol sy'n grediniaethau cywir, ond ni welais i neb etto yn gallu profi fod hon yn grediniaeth gyffredinol yn nechreuad Cristionogaeth. Y mae pawb yn addef fod yr Iddewon yn ei gwadu, ac y mae Crist a'i apostolion, a dyweyd y lleiaf, yn cymmeryd yn ganiatäol yr hyn yr oedd yr Iddewon yn ei ddyscu am gyflwr yr ysprydoedd rhwng angau a'r adgyfodiad; ac y mae Iwstyn Ferthyr, yn fuan ar ol dyddiau'r apostolion, yn tystiolaethu mai hereticiaid, nad oeddent yn credu yr Hên Destament na'r Newydd, oedd yn haeru fod y saint yn myned i'r nef, ac fod y rhai annuwiol yn myned i uffern, yn uniongyrchol. Y mae hyd yn oed Eglwys Rhufain ei hun yn addef nad ydyw saint beius ddim yn myned i'r nef yn ddioed ar ol marw, ac yn addef hefyd nad aeth neb yno cyn escyniad Crist.

Y mae yn wir y gellir dadlau fod athrawiaeth yr eglwys honno am y purdan yn un bur resymmol, ac fod iddi

ddylanwad da ar foesau rhai dynion; ond ychydig o sail sydd iddi yn yr Yscrythyr, os na fernir fod yr Apocrypha yn rhan o'r Yscrythyr. Ond am grediniaeth Ymneillduwyr Cymru a'r Alban, ni ellir dyweyd ei bod hi nac yn Yscrythyrol nac yn rhesymmol nac yn ddaionus ei dylanwad; canys y mae hi yn peri i ddŷn feddwl, os bydd efe yn ddigon da i ochel uffern y bydd yn ddigon da i fyned i'r nef hefyd. Dyma'r achos fod cynnifer o saint diddrwg didda, a chyn lleied o saint hynod mewn duwioldeb ymhlith y rhai sy'n coleddu'r grediniaeth. Os dywedir fod Henry Rees yn dra duwiolfrydig, a David Saunders yn dra boneddigaidd, mi ddywedaf finnau nad oeddent hwy ddim yn credu yr athrawiaeth ag yr ydwyf fi yn awr yn dywedyd yn ei herbyn. Yr oeddent hwy yn credu ac yn dywedyd fod sefyllfa ganol, er eu bod yn gwadu fod purdan, ond y mae lle i ofni nad oes mo hanner pregethwyr Cymru yn synio yr un fath a hwynt.

Pa ham y mae cynnifer o ddynion deallus a darllengar yn credu athrawiaeth mor gyfeiliornus, ac mor afiachus? Am ei bod wedi ei dyscu iddynt yn eu mebyd cyntaf, ac anodd iawn ydyw i'r *dyn* ddad-ddyscu yr hyn a ddyscodd efe yn blentyn. Onid yw yn yscrifenedig yn y *Rhodd Mam* fod eneidiau plant yn myned naill ai i'r nef neu i uffern ar ol marw? ac y mae yn ddiddadl mai Gehenna, neu y pwll di-waelod, a feddylir wrth uffern yn y llyfr bach. Y mae yn wir fod yr atteb wedi ei gyfnewid yn y *Rhodd Mam* newydd, ond y mae lle i gasclu mai yr un ystyr sydd iddo ag o'r blaen. I ba le yr eiff eneidiau plant da *a* phlant drwg—i ba le yr eiff eneidiau pawb, ar ol marw? I uffern yr ânt i gyd—nid i Gehenna, nid i'r llyn o dân, nid i'r pwll di-waelod, ond i uffern, yn ystyr Yscrythyrol a llydan y gair, sef i'r dyfnder, i'r pwll, i Sheol, i Hades, sef i'r byd anweledig yr erys yr ysprydion

ynddo hyd ddydd eu barn. Ni escynodd neb—*neb* i'r nef oddi eithr yr hwn a ddiscynodd o'r nef, sef Mab y dŷn, medd Ioan. Myned i lawr ac nid i fyny y mae yr enaid yn angau; ac am hynny, pan ymddanghosodd yspryd y proffwyd Samuel i'r brenin Saul, oddi lawr y daeth efe ac nid oddi fyny. Uffern ydyw porth y nef, canys trwyddi hi y rhaid i bawb fyned i ogoniant. Trwy uffern a'r bedd yr aeth yr Iesu ei hun yno; er mai tros ychydig amser y bu raid iddo ef aros yn y naill le a'r llall. "Ni *adawodd* Duw ei enaid ef yn uffern, ac ni oddefodd i'w Sanct weled llygredigaeth," trwy adael ei gorff yn hir yn y bedd. Ond y mae yn uffern ddau le, sef lle i eneidiau y rhai cyfiawn, a lle i eneidiau y rhai drwg; ac er eu bod yngolwg eu gilydd, etto y mae gagendor wedi ei sicrhau rhyngddynt.

Fe alwai yr Iddewon un o'r ddau le yn garchar, a'r lle arall yn Baradwys neu Ardd Eden, ac yn fynwes Abram i ddangos mai lle i orphwys ydyw, a lle i ddiddanu dŷn ac nid i'w ddigrifo. I'r Baradwys hon, ac nid i'r nef yr aeth y lleidr edifeiriol; canys fe ddywedodd yr Iesu wrtho:— "Heddyw y byddi gyd â *mi;*" ac ni a wyddom oddi wrth yscrythyrau eraill, heb sôn am gredo yr apostolion, mai i uffern yr aeth yspryd yr Iesu, tra yr oedd ei gorff yn y bedd, ac nad aeth efe ddim i'r nef hyd amser ei escyniad.

Er fod Paradwys ei hun yn lle rhy dda i fod yn burdan, etto y mae yn rhaid ini gredu ei fod yn lle y gellir ymburo ac ymberffeithio ynddo; canys y mae un o'r apostolion yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynom waith da ei orphen *hyd* ddydd Iesu Grist. Yn nydd yr adgyfodiad ac nid yn nos angau y gorphennir iachawdwriaeth dŷn. Ni pherffeithir hwn a'r llall hyd oni pherffeithir y cwbl oll.

Am fod perffeithiad saint y byd arall yn dibynnu ar ein perffeithiad ni y mae y saint hynny yn ymddori cymmaint yn saint y byd hwn. Os mynnem ni foddhau y cwmmwl o dystion a osodwyd o'n hamgylch, rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen. Rhedwn; rhedwn trwy amynedd, brysiwn yn bwyllog. Os trotian a wnawn ni yn lle rhedeg; os rhedeg yn ffwdanllyd a wnawn ni gan daro'n troed wrth y garreg yma a'i ollwng i'r rhigol accw, ac nid rhedeg yn amyneddus, yna ni a wnawn gam nid yn unig â ni'n hunain, ond âg Abram, â Moses, â Phedr, ac â'n hynafiaid duwiol ni'n hunain. Er fod hon yn hên athrawiaeth y mae yn newydd i rai o honoch; os felly, mi a ddisgwyliaf i'r rheini redeg yn well o hyn allan, o wybod yn unig fod myrddiwn o lygaid yn craffu arnynt o fyd arall. O gredu hyn, hwy a ânt yn rhy ofnus ac yn rhy lesg i bechu yn rhyfygus. Y mae ar rai, ysywaeth, fwy o ofn edrychiad dŷn nag sydd arnynt o ofn edrychiad Duw; ond pwy bynnag sydd yn ofni pechu yngolwg dŷn, y mae gobaith y gellir dyscu hwnnw i ofni pechu yngolwg Duw. Pe'i gwelid ef yn yswatio ger bron ysprydoedd y rhai cyfiawn, fe fyddai hynny y nesaf peth i'w weled yn yswatio ger bron Duw. Y mae ambell *ddarlun* o ddŷn da na fedrwn ni ddim pechu yn yr un ystafell ag ef. Mi a welais unwaith yn un o ddarlunfeydd Brussel ddarlun o ŵr prudd yr olwg, yr oedd ei lygaid dwysion yn syllu arnaf ymha fan bynnag y safwn i. Fedrwn i ddim yscoi ei drem—yr oedd hi yn fy nghanlyn i bob cŵr o'r ystafell. Yr oeddwn i yn credu er fy ngwaethaf mai arnaf fi yn unig yr oedd yn tremio, ac yn methu â pheidio âg ymofyn â mi fy hun pa ham yr oedd yn gwneyd hynny. Er nad oeddwn yn ymwybodol o unrhyw fai a haeddai ei gospi gan y barnwyr, etto yr oeddwn yn teimlo fel gŵr euog, ac yn dychmygu fod pob plismon arfog oedd yn gwylio'r lle wedi dyfod yno yn un pwrpas i'm gwylio i. Ond pa beth

yw dylanwad llygaid paentiedig wrth ddylanwad llygaid yspryd byw yn pefrio yn nhywyllwch y byd anweledig? Y mae y cwmmwl sydd o'n hamgylch yn llawn llygaid. Y mae y tystion wrth edrych *arnom* yn edrych trwom. Y mae eu golygon yn cyniwair i gilfachau'n henaid. Y maent yn dy weled yn ymado oddi wrth y Duw byw cyn iti feddwl am ymado o'r eglwys, yn sylwi ar fusgrellni dy fyfyrdod cyn i neb ar y ddaear sylwi ar fusgrellni dy rodiad; ac y mae hyn yn gwneyd afonydd Paradwys fel afonydd Babilon i yspryd dy fam, neu dy hên athraw. A oddefi di i'th ddwylaw laesu ac i'th liniau ymollwng yn ei golwg hi, yn ei olwg ef, yngolwg holl gynnulleidfa y rhai cyfiawn? A ddiffygiwn ni ger bron y rhai a watwarwyd, a fflangellwyd, a garcharwyd, a dorrwyd â llif, ac a laddwyd â'r cleddyf? Yn hytrach, gan fod cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen.

Yn ail, *y credinwyr yn edrych ar Iesu.* Trwy amynedd, neu trwy bybyrwch, rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen, *gan* edrych ar Iesu. Ystyriwn fod y tystion yn edrych arnom ni, ond wrth redeg nac edrychwn ni o'n hamgylch arnynt hwy. Yn hytrach, edrychwn yn union o'n blaen ar Iesu. Efe yn unig a *allwn* ni ei weled yn glir; canys y mae efe wedi ei ddadguddio yn well na hwynt, y mae efe yn oleuni, ond cwmmwl ydynt hwy. Arno ef y mae yn wiw i ni edrych yn ddyfal, canys efe ydyw'r unig un o'r dyrfa a fu byw yn ddihalog. Dŷn da oedd ei was Paul, ond nid oedd efe mor amyneddgar a hawddgar o lawer a'i Feistr. Er gwaethaf ymgais yr esponwyr i'w ddifeio, yr ydym yn ein càlon yn methu â llwyr faddau iddo ei ymddygiad tuag at ei gyfaill cyntaf Barnabas, yr hwn a safasai wrtho mor bybyr, pan oedd pawb eraill yn ei yscoi. Y mae yn chwith gennym weled Cristion mor ieuanc yn

neidio i ben hên apostol mor radlon a di-ddichell â Phedr, gan ei gyhuddo ar goedd o anghyssondeb, ac yntau ei hun wedi bod fwy nag unwaith yn euog o anghyssondeb mwy. Nid oedd hyd yn oed Pedr, y gorau a'r pennaf o'r apostolion, ddim heb ei feiau, er y rhaid addef mai beiau maddeuadwy iawn oedd ei feiau ef. Ië, nid oedd Moesen, y dŷn gorau a mwyaf o bawb, ddim yn berffaith.

Yr Iesu yn unig a ddeil edrych arno yn graff, canys efe ydyw Tywysog a Pherffeithydd ein ffydd. Os myned i mewn i'r bywyd yn unig a ewyllysiwn, fel y gŵr ieuanc goludog, yna ymfoddlonwn ar redeg yr yrfa gan edrych ar y proffwydi a'r apostolion ; ond os mynnwn fod yn berffaith, yn fawr yn nheyrnas nefoedd, rhedwn gan edrych ar Iesu. Efe ydyw'r nôd—y wŷal. Os edrychwch i eiriadur Saesnig da, chwi a welwch fod y gair Saesnig *goal* yn dyfod o air Ffrengig a swnir yn ogyffelyb, a bod hwnnw drachefn yn dyfod o'r gair Cymreig gâl, neu gwyal, sef gwïalen neu ffon, a osodid ym mhen eithaf yr yrfa. Y mae yn arw o beth ein bod yn colli geiriau ag y mae yn wiw gan genhedloedd eraill eu dwyn oddi arnom. Rhaid i lawer gair Cymreig fyned i Loegr, a dyfod oddi yno drachefn mewn gwisc Saesnig cyn y bydd yn gymmeradwy yn ei wlad ei hun. Ond er fod y gair "nôd" yn rhy amhenodol ei ystyr, fe ŵyr llawer o honoch mai gwyal, mai pawl, a olygir pan y byddis yn sôn am nôd gyrfa ; ac fel y dywedwyd o'r blaen, nid rhywbeth o'r tu allan, o'r tu blaen, i'r Iesu ydyw'r nod, ond efe ei hun. Y mae efe yn Farnwr am ei fod yn nôd, ac yn nôd am ei fod yn esampl. Er fod llawer wedi rhedeg o'i flaen, ac wedi rhedeg yn dda, etto efe oedd y cyntaf a redodd fel y dylid rhedeg; ac am hynny y mae efe yn Dywysog neu yn rhagflaenor i'r ffyddloniaid a fu o'i flaen yn gystal ag i'r

ffyddloniaid a fu ar ei ol. Fe welwyd llawer campwr gwych yn diosc ei ddillad ac yn eu gosod wrth draed ei bleidwyr ger llaw y gychwynfa, ond *Un* a welwyd yn diosc ei ogoniant, gan ei adael yngofal ei Dad. Hwnnw a'i dibrisiodd ei hun, a'i gwaghaodd, a'i diddymodd ei hun, er mwyn rhedeg. Ei draed ef a gochodd ac a wastadhaodd y llwybyr, gan ei wneyd trwy hynny yn fwy amlwg ac yn llai garw i'r sawl a redent ar ei ol. Efe yn unig a nerthwyd i lammu i'r orsedd ar ol cyrraedd y nôd. A pha fath nôd; pa fath bren oedd yn sefyll ymhen draw ei yrfa ef? Pren croes, polyn y felldith; er hynny, fe redodd tuag at hwnnw.

Ystyriwch hyn, gyfeillion duwiol, fe aeth eich Gwaredwr i Galfaria tan redeg. Nid oedd efe yn cael amser i *son* am ddim ond am ei Dad, ac ewyllys ei Dad, nac i wneuthur dim ond gwneuthur cymmwynasau i ddynion. Yr oedd yn cyflymmu yn hytrach nag yn arafu fel yr oedd yn nesàu at y nôd. Pan oedd efe ar y ffordd yn myned tua Chaersalem, fe hyspysodd i'w ddiscyblion y gwatwerid, y fflangellid, ac y lleddid ef yn y ddinas honno ymhen ychydig ddyddiau; ac wedi iddo ddywedyd hyn y waith gyntaf, y mae yr efengylwr yn adrodd fel hyn:—"A'r Iesu oedd yn myned o'u blaen hwynt, a hwy a frawychasant, ac fel yr oeddynt yn canlyn, yr oedd arnynt ofn;" ond yn y paragraff nesaf fe ddywedir i'r Iesu sefyll. A pha beth a barodd iddo sefyll? Clywed dau ddŷn dall yn llefain arno, "Trugarha." O! nid yw ryfedd fod yr Iesu wedi marw mor ieuanc—onid oedd efe yn rhedeg i'w farwolaeth? A phe na buasai wedi cymmeryd ei attal ar y ffordd gan gynnifer o ddeillion a chloffion a gwywedigion, fe fuasai wedi cyrraedd y groes yn gynt fyth. Os oedd efe yn *ymdroi* i roddi bywyd ac iechyd i eraill, yr oedd yn brysio i aberthu ei fywyd ei hun. Er

fod ei yrfa yn hir, etto bèr oedd ei oes; ond pwy a draetha ei oes ef? Onid oedd tragwyddoldeb wedi ei grynhoi yn honno, ac anfeidroldeb wedi ei grynhoi yn ei Berson yntau? Os bu efe farw, fe fu farw am ei fod wedi gorphen byw.

Rhedwn yr yrfa, gan edrych ar Dywysog y rhedwyr—gan edrych arno yn ei ddau gyflwr, yn ei ddioddefaint ac yn ei ogoniant, ar y groes ac ar ei orsedd, rhwng dau leidr ac ar ddeheulaw Duw, fel y bu ac fel y mae—gan edrych arno fel yr hwn a fu farw ac sydd fyw. Yn wir, y mae yn anodd gwybod pa bryd y *dechreuwyd* gogoneddu yr Iesu; canys yr oedd yn gogoneddu ei hun wrth ddiystyru diystyrwch, ac wrth waradwyddo gwaradwydd. Yr oedd yn myned yn fawr wrth fyned yn fach; yn ymddyrchafu wrth ymddarostwng. Pan y dyrchafwyd ef ar y groes, fe'i dyrchafwyd oddi ar y ddaear mewn mwy nag un ystyr, canys y groes oedd gwaelod yr yscol y dringodd efe ar hyd-ddi tua'r nef. Hyd yn oed ar honno, fe aeth yn ddigon uchel a gogoneddus i swyno byd o bobl, canys fe ddywedodd ei hun:—"Os dyrchefir fi oddi ar y ddaear, mi a dynnaf bawb attaf fy hun."

"'Does golwg harddach ddydd na nos
Na 'n Iesu 'n hongian ar y groes."

O dan chwŷs yr ardd a gwaed y groes y gwelodd rhai ei degwch ef. Pan oedd efe yn llonydd ar y groesbren y gweithredodd efe fwyaf arnynt; pan y tawodd efe yn yr angau y dyscodd efe fwyaf iddynt. Pan oedd efe yn ei waradwydd mwyaf, heb goron well na choron ddrain, hwy a welsant gylch o oleuni o amgylch ei ben. Ond os oedd gweled yr Iesu mewn *halo* yn ddigonol i ddwyn y rhain i'w *garu*, ei weled yn ei fawr *ragorol* ogoniant a'u

calonoga i redeg ar ei ol trwy amynedd. Er mwyn y gogoniant hwnnw y dioddefodd *efe* y groes gan ddiystyru gwaradwydd, ac er mwyn bod yn gyfranogion o'r unrhyw ogoniant y mae pawb eraill yn rhedeg yngwyneb gwaradwydd, a hyd at y groes. Hyd yn oed pe na byddai nef fe dalai i ddŷn fyw yn foesol yn y byd hwn, canys y mae moesoldeb cyffredin yn dwyn ei wobr yn ei law; ond ffolineb a fyddai byw yn *dduwiol*—ffolineb a fyddai dwyn gwaradwydd a dioddef angau, pe na bâi gogoniant ar ol hynny. Anturiaeth golledus a fuasai anturiaeth y Cristion pe na buasai hi yn dwyn etifeddiaeth iddo yn y byd a ddaw. "Os yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yNghrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni." Ni fuasai Duw ddim yn disgwyl ini fyw fel Crist, oni buasai fod ganddo nefoedd ar ein cyfer. Er mwyn y *gogoniant* a osodwyd o'i flaen y bu yn wiw gan yr Iesu ei hun redeg yr *yrfa* a osodwyd o'i flaen, a dioddef *cymmaint* ag a wnaeth efe.

Ond a ydyw hyn yn cynnwys mai er ei fwyn ei hun y dioddefodd efe? Nag ydyw, ddim; canys y mae ei lawenydd ef fel Cyfryngwr yn dyfod o hyn, sef o weled pechaduriaid colledig yn edifarhau, ac yn derbyn ei drefn i'w cadw; ac o weled saint perffeithiedig yn mwynhau yr iachawdwriaeth honno dros byth yn y nef. Ai teimlad hollol hunangar sy'n cymmell y *saint* i chwennychu'r nef? Na, ewyllysio gweled yr Iesu y maent yn ei ogoniant, ac y mae ewyllysio hynny yn puro'u càlon, ac yn ëangu eu henaid. Pwy sydd ganddynt hwy yn y nefoedd ond efe, ac ar y ddaear ni ewyllysiant neb gyd âg ef. Enaid gwancus, anniwall, oedd gan Dafydd, ond y mae efe yn dywedyd:—"Digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di." Fe fydd gogoniant a dedwyddwch y nef yn gynnwysedig mewn gweled; canys y mae gweled Duw yn iaith y Beibl

yr un peth a mwynhau Duw. Eithr nid Duw Sina a ge'r ei weled nac a ellir ei weled, ond Duw Calfaria—y Duw y gall dŷn ei weled a byw—y Duw sy'n trigo yn y goleuni y gellir dyfod atto, sef yn y golau gwâr—y *mild light.* Gweled hwn megis ag y mae yn y nef a fydd y wobr am edrych arno ar y ddaear; ei garu yno yn fwy a fydd y daledigaeth am ei garu yma â'r holl gàlon.

Rhedwn yr yrfa gan edrych ar Iesu. Er na allwn ni mo'i weled yntau mwy na'i Dad â llygad o gnawd, etto fe all ein hyspryd yn awr weled ei yspryd ef. Edrychwn arno er mwyn gweled yr hyn sydd *ynddo*—er mwyn gweled ei ffydd, ei obaith, ei gariad, ei ymwadiad, a'i amynedd. Y mae y pethau hyn mor amlwg i ni ag oeddynt i'r apostolion. Edrychwn arno, trwy osod ein bryd a'n càlon arno—trwy ei garu a chymdeithasu âg ef. Edrychwn arno yn gyntaf dim trwy edrych ar y pedwar portrëad a geir o hono yn yr efengylau. Y mae y darluniau hyn mor *fyw* fel yr ydys ynddynt yn croeshoelio Iesu Grist o flaen ein llygaid. Yr ydym yn gweled y milwyr yn pwyo yr hoelion i'w gnawd; yn gweled ei waed yn llifo a'i ben yn gogwyddo. Yr ydym yn clywed yr Iddewon yn gwatwar; y gwragedd yn cwynfan, a Mab Duw yn dolefain dan bwys ein bai. Yr ydym yn teimlo'r tywyllwch mawr yn dyfod arnom, a'r ddaear yn crynu dan ein traed.

O! y mae yn rhaid fod rhywbeth wedi ein llygad-dynnu fel nad edrychom ar Iesu. Pwy a ddylai edrych arno, os na ddylem ni? Nyni a'i croeshoeliodd ef; nyni a'i gwanodd ef. Edrychwn ar yr hwn a wanasom ni'n hunain, a galarwn *wrth* edrych; a hynny yn fwy, am fod hwn yn cynnyg bywyd tragwyddol i'r rhai a'i lladdasant ef. A ydyw'r byd yn ymgaledu? Edryched ar Iesu

yn dioddef ar y groes. A ydyw'r eglwys yn pallu yn ei ffydd a'i gweithgarwch? Edryched ar Iesu yn eistedd ar orseddfainc Duw. Edrych arno ef sy'n cadw; edrych arno ef sy'n cynnal. Am hynny, credwn trwy edrych, a rhedwn gan edrych.

## XXII.

## PLANT YDYM, MEIBION FYDDWN.

"*Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled ef megis ag y mae.*"—1 IOAN iii. 2.

ER fod yr adnod hon erioed yn un o'r rhai anwylaf gan y saint; ïe, gan saint annyscedig, etto y mae ynddi, fel yn epistolau Paul, rai pethau anhawdd eu deall. Gan ei bod yn rhoddi diddanwch i saint o bob gradd, y mae yn rhaid fod ei hystyr cyffredinol yn lled amlwg; ond fe gyfaddefa pob dŷn a edrychodd yn ddyfal arni fod ystyr neillduol yr amryw ymadroddion sydd ynddi, a pherthynas yr ymadroddion hynny â'u gilydd yn bur anamlwg. Yn y lle blaenaf, y mae yn ammheus a draddodwyd yr adnod i ni yn union fel y scrifennwyd hi; ac y mae hyd yn oed yr esponwyr sydd yn cyttuno i dderbyn y testyn cyffredin, yn anghyttuno ynghylch y modd y dylid cyfieithu'r testyn hwnnw; ac yn y lle olaf, nid yw y darllenwyr ag sydd yn cydnabod cywirdeb ein cyfieithiad ni yn rhoi yr un ystyr i'r adnod wrth ei darllen, gan fod rhai yn mynnu rhoi yr arbwys ar y gair hwn, ac eraill yn mynnu rhoi yr arbwys ar ryw air arall. Yn wir, nid oes odid air yn yr holl adnod nad yw esponwyr *a* darllenwyr yn anghyttuno ynghylch ei rym, os nad ynghylch ei ystyr hefyd. Cymmerwn rai o honynt o un i un fel enghreifftiau. Am y gair blaenaf, "anwylyd," ni ellir dyweyd fod hwnnw yn annghywir, er ei fod yn aneglur, canys y mae *anwylyd* yn

Gymraeg, fel *beloved* yn Saesneg, yn enw unigol a lliosog. Yma, lliosog ydyw, yn arwyddo anwyliaid, neu rai anwyl—rhai anwyl gan yr apostol, a hynny am eu bod yn rhai anwyl gan Dduw. "Yr awrhon." Pa un ai adferf amserol yn arwyddo "ar hyn o bryd," ynte cyssylltair rhesymmegol yn arwyddo "weithian gan hynny" ydyw "yr awrhon?" Y mae y rhan fwyaf erbyn hyn yn barnu mai adferf ydyw, am y rheswm fod y geiriau "yr awrhon" yn gyferbyniol â'r geiriau "nid etto" ag sy'n dilyn. Am y gair nesaf, y mae pawb yn cydsynio mai plant ac nid meibion a ddylasai hwnnw fod. Yr ŵyf yn dymuno arnoch gofio hyn, am y bydd corff fy mhregeth i yn sefyll ar y ffaith mai *plant* i Dduw ac nid meibion ydym ar hyn o bryd. Dyma gwestiwn arall y dylid ei atteb, er mwyn iawn-ddeall y testyn; sef, pa un ai ar yr ymadrodd "yr awrhon" ynte ar y gair "plant" y dylid pwyso fwyaf wrth ddarllen? Os yr "awrhon" yn unig sy'n gyferbyniol, yna ar yr ymadrodd hwnnw y dylid pwyso; ond os yw "plant" hefyd yn gyferbyniol â rhywbeth ag sy'n ddealledig ymhellach ym mlaen, yna ar y gair "plant" y dylid pwyso fwyaf. "Yr *awrhon*, plant i Dduw ydym." "Yr awrhon, *plant* i Dduw ydym." Dyna'r ddwy ffordd y gellir darllen yr ymadrodd. Pa un yw y ffordd orau? Yr ŵyf fi yn credu er ys talm mai yr olaf, er y rhaid imi addef mai yn ddiweddar y cefais hyd i esponiwr o radd sy'n fy nghalonogi i draethu fy nghred. "Yr *awrhon*, plant i Dduw ydym."—Wrth bwysleisio felly, yr ŵyf yn rhoi ar ddeall ein bod yn awr mewn gwirionedd yr hyn a fyddwn ar ol hyn. "Yr awrhon, *plant* i Dduw ydym."—Wrth bwysleisio fel hyn, yr ŵyf yn rhoi ar ddeall y byddwn rywbryd yn rhywbeth amgenach na phlant; ac yr ŵyf yn gobeithio y gallaf eich argyhoeddi fod yr apostol ei hun yn awgrymu, os nad yn mynegu, fod enw gwell na phlant ynghadw yn y nef i'r rhai a anwyd o Dduw.

Fe ellid meddwl fod ystyr y gair bach *ac*, sy'n cyssylltu'r ddau ymadrodd blaenaf, yn ddigon amlwg ; ond y mae agos bob esponiwr, er mwyn dangos fod y ddau ymadrodd yn gyferbyniol â'u gilydd, yn rhoddi i'r cyssylltair *ac* ystyr eithriadol, gan amgen-eirio y rhan flaenaf o'r adnod fel hyn :—" Yr ydym ni, ïe, yn awr, yn blant i Dduw ; ac er hynny, nid amlygwyd etto beth a fyddwn." Gan fy mod i yn synio nad yw yr ail ymadrodd yn ddim amgen na chasgliad oddi wrth y gwirionedd ag sydd yn yr ymadrodd blaenaf, yr ŵyf yn rhoi i'r gair *ac* ystyr casgliadol neu eglurhaol yn hytrach nag ystyr eithriadol, gan amgen-eirio y rhan flaenaf o'r adnod fel hyn :—" Ar hyn o bryd, *plant* yn unig ydym i Dduw ; ac am hynny, am mai plant ydym, nid amlygwyd etto beth a fyddwn." " Nid amlygwyd etto beth a fyddwn."—Nid amlygwyd i bwy ? Nid amlygwyd hynny i'r byd, medd rhai ; am fod yr apostol newydd ddywedyd mewn ymadrodd o'r blaen "nid edwyn y byd chwi." " Nid amlygwyd i ni sydd etto yn blant," medd un esponiwr ; a dyma'r esponiad yr ŵyf yn ei dderbyn. Gan nad amlygwyd ini etto beth a fyddwn, ni wyddom ni bobpeth, eithr ni *a* wyddom rywbeth ; canys ni a wyddom y byddwn gyffelyb i'r Iesu pan ymddengys efe yn ei ogoniant. Y mae yn deg imi ddyweyd fod rhai esponwyr yn gwadu awdurdod y gair *eithr* yn yr ymadrodd "eithr ni a wyddom ;" ond hyd yn oed pe cyttunai pawb i fwrw'r gair allan, ni fyddai hynny yn brawf nad yw yr ymadrodd sydd ar ei ol yn gyferbyniol â'r ymadrodd sydd o'i flaen ; canys y mae Ioan yn fynych yn cyferbynu pethau â'u gilydd heb arferyd y gair *eithr* neu *ond*.

" Pan ymddanghoso efe."—Dyma ymadrodd arall ag y mae gwahanol farnau am ei ystyr. Pa un ai person ai peth a feddylir wrth y rhagenw? Peth, medd rhai espon-

wyr pur enwog; ac am hynny y maent yn cyfieithu yr ymadroddion fel hyn:—"Nid amlygwyd etto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom, *pan* amlyger ef;" *h.y.*, &c., y byddwn gyffelyb iddo ef, sef i Dduw neu i Grist. Heb law fod meddwl yr ymadrodd o'i gyfieithu fel hyn, yn wàn a thywyll ynddo'i hun, y mae ef hefyd yn anghyttunol âg ymadroddion Yscrythyrol eraill; ac am hynny, y mae'n well gennyf ddilyn yr esponwyr sy'n dywedyd mai person y mae y rhagenw yn ei olygu. Ond pa berson, ai Duw Dad ynte yr Arglwydd Iesu? Duw Dad, medd rhai, am mai am dano ef y sonir yn yr ymadrodd o'r blaen. Yr Arglwydd Iesu, medd eraill, am nad yw y rhagenw yn epistol Ioan yn cyfeirio bob amser at yr enw agosaf atto, ac hefyd am mai yr Iesu yn ddi-ddadl a olygir yn yr ymadrodd "pan ymddanghosodd efe" yn niwedd y bennod o'r blaen. Heb law hynny y mae'r Beibl mewn llawer man arall yn tystiolaethu fod Duw yn anweledig ac yn anweladwy, ac mai yNghrist Iesu yn unig y gall efe ymddangos. Y mae y cyfieithiad Saesnig mewn un peth yn fanylach na'r un Cymreig, am mai yr un gair sydd yn hwnnw am "amlygwyd" ac "ymddanghoso." "Ni ddadguddiwyd etto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom pan ddadguddier *ef*, y byddwn gyffelyb iddo"—Dydd dadguddiad Mab Duw a fydd dydd dadguddiad meibion Duw.

Un cwestiwn arall sy'n gofyn attebiad, sef hwn yma:—Rheswm am ba beth sydd yn yr ymadrodd olaf? Rheswm am y wybodaeth sydd gennym y byddwn yn gyffelyb i'r Iesu, medd Calvin. "Ni a wyddom y byddwn gyffelyb iddo."—Pa ham y gwyddom? Am y cawn ei weled ef megis ag y mae. Y mae yn well gennyf fi dderbyn yr esponiad mwy naturiol ag sy'n ymgynnyg i bob darllennwr cyffredin, sef fod yr ymadrodd olaf yn

rheswm am y *ffaith* y byddwn yn gyffelyb i'r Iesu. "Ni a wyddom y byddwn gyffelyb iddo."—Pa ham y byddwn gyffelyb iddo? Am y cawn ei weled megis ag y mae. Dyma'r ddau beth yr ŵyf yn bwriadu traethu ychydig arnynt ar bwys y testyn:—Yr hyn *ni* wyddom, a'r hyn *a* wyddom.

Ym mlaenaf, Yr hyn *ni* wyddom—"ni ddadguddiwyd i ni etto beth a fyddwn." Yr awrhon, plant ydym; am hynny ni fuasai yn bossibl i Dduw ddadguddio ini bob peth. Plant ydym; am hynny ni fuasai yn fuddiol i Dduw ddadguddio ini bob peth, hyd yn oed trwy ei Fab. Yn wir, Mab o dan oed oedd yr Iesu ei hun yn nyddiau ei gnawd; ac am hynny fe guddiwyd rhai pethau oddi wrtho yntau. "Am y dydd hwnnw a'r awr ni ŵyr neb, na'r angylion na'r Mab, ond y Tad yn unig." Ni fuasai ymddarostyngiad yr Iesu yn ymddarostyngiad gwirioneddol, ac ni fuasai yntau ei hun yn esampl cymmwys i eraill, pe gwybuasai efe yn fanwl bob peth oedd yn ei aros; canys pa fodd y gall y neb a rodio wrth olwg fod yn gynllun i'r rhai sy'n rhodio wrth ffydd? Pan y gwnaed ef mewn cyffelybiaeth dynion, efe a beidiodd â bod yn gyffelyb i Dduw, yn ei hollwybodaeth a'i hollalluogrwydd. Wrth ymddarostwng, efe a'i dibrisiodd ei hun—efe a'i gwaghaodd, a'i diddymodd ei hun, gan beidio â bod dros amser yr hyn ydoedd o'r blaen. Fe ddaeth i gyflwr ag y gellid dyweyd am dano yn ei febyd, "A'r Iesu a gynnyddodd mewn doethineb a chorffolaeth." Er ei fod yn Fab Duw o ran ei hanfod, etto mab dŷn oedd efe o ran ei gynneddfau a'i gyrraeddiadau. Na, yr oedd efe, yn ei gyflwr isaf yn fwy na mab dŷn—yr oedd yn Fab y dŷn—yn fab y ddynoliaeth—yn hufen y ddynoliaeth. Efe yw yr Adda diweddaf, yn yr hwn y mae dŷn yn cyrraedd ei ddiweddiad a'i berffeithiad; yr Adda na welir etto mo'i

fath; yr Adda gwir, yr hwn nad oedd yr Adda cyntaf ond ffurf neu gyscod o hono. Gan ei fod yn gyfryw ddŷn, y mae yn rhaid fod ei gynnydd ef mewn doethineb yn fwy na chynnydd neb arall; ond hyd oni eglurwyd ef yn Fab Duw mewn gallu, trwy yr adgyfodiad oddi wrth y meirw, nid oedd efe yn gallu pob peth, nac yn gwybod pob peth; a chan nad oedd efe ei hun yn gwybod pob peth, ni allai efe ddadguddio pob peth i'w ddiscyblion. Er hynny, yr yr oedd efe yn gwybod llawer o bethau nad oedd efe ddim yn dewis eu dadguddio, am na buasai eu dadguddio i'w ddiscyblion ar hynny o bryd, beth bynnag, yn fuddiol iddynt. "Y mae gennyf fi lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon." "Ni pherthyn i chwi wybod yr amserau a'r prydiau, y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun." "Y peth yr ŵyf fi yn ei wneuthur," eb efe wrth Pedr, "ni wyddost ti yr awrhon, eithr ti a gei wybod ar ol hyn."

Fe ddadguddiodd yr Iesu yn ystod ei ymddanghosiad cyntaf bob peth y mae yn dda *i* ddŷn ei wybod; ond pan ymddengys efe yr ail waith y dadguddia efe bob peth ag y byddai yn dda *gan* ddŷn ei wybod. I gyflawni ein hanghenion y daeth efe i'r byd y waith gyntaf; ond pan y daw efe yr ail waith, fe ddaw i gyflawni ein dymuniadau, a hyd yn oed i borthi ein chwilfrydigrwydd. Ar *ol* hyn y bydd tragwyddol oes y gwybod—oes y gwneuthur yn bennaf yw hi yr awr hon. Ni a wyddom eisys beth *ydym*, wrth natur a thrwy ras. Os yw y Tad yn ein caru, a ninnau yn ei garu yntau, ac yn caru'r brodyr, yna yr ydym yn *blant* i Dduw yr awrhon; er hynny, gan mai plant ydym, ni ddadguddiwyd i ni etto beth a fyddwn. Ni allasai Duw ddadguddio cymmaint ag a fynnai efe ei ddadguddio i blant o dan oed; ac ni fynnai efe ddadguddio iddynt gymmaint ag a allasai efe ei ddadguddio.

Diau y gallasai Duw roddi dadguddiad eglurach i feibion Israel nag a roes efe am anfarwoldeb yr enaid ac adgyfodiad y corff; ond am ryw resymmau haws eu dyfalu na'u gwybod yn sicr, fe'u gadawodd hwynt mewn mwy o dywyllwch ynghylch y ddau beth hyn nag odid un genedl arall. Yr oedd yn fwy ganddo ddyscu iddynt mai un Duw sydd, ac fod y Duw hwnnw yn gwobrwyo ac yn cospi yn y byd hwn na dyscu dim ynghylch y byd a ddaw. Ar ol iddynt lwyr ddyscu y wers fawr hon, fe'u gyrrodd Duw hwynt i yscol estronol i ddyscu gwersi eraill; canys yn nhir eu caethiwed y cawsant hwy y rhan fwyaf o'u gwybodaeth am anfarwoldeb yr enaid, adgyfodiad y corff, barn gyffredin, a nef ac uffern. Dyma'r achos pa ham yr ydys yn traethu yn fanylach am yr athrawiaethau hyn yn y llyfrau a scrifennwyd yn ystod ac ar ol y caethgludiad, sef llyfrau Ezeciel, Daniel, a'r Apocrypha nag yn yr holl lyfrau a scrifennwyd cyn hynny. Yngolwg y Saducëaid, athrawiaethau cenhedlig oedd y rhain, na ddyscid monynt ynghyfraith Moses; ond yr oedd y Pharisëaid, a chorff yr Iddewon, yn eu derbyn; ac yn hyn o beth yr oedd Iesu Grist yn cyttuno â'r Pharisëaid.

Yn wir, fe ddygodd efe fywyd ac anllygredigaeth i oleuni mwy fyth trwy yr efengyl; ond cofier mai yn hytrach trwy weithred na thrwy eiriau y gwnaeth efe hynny, sef trwy ddiddymu angau yn ei waith yn adgyfodi oddi wrth y meirw. Yr oedd goleuni y llusern a ddaliai efe yn ymddangos yn ddisclaer wrth oleuni'r ganwyll a ddaliai Moses; ond fe ymddengys golau'r llusern ei hun yn welw iawn pan dywynno goleuni trydanol y dydd olaf ar y byd a'r bedd. Pa faint bynnag a ddadguddiwyd ini yn yr efengyl am hynt yr enaid, helynt y corff, ac ansawdd y tir pell, ni ddadguddiwyd ini etto beth a fyddwn. O ran y gwyddom y digwyddiadau mawr sydd o'n blaen.

Rhyw *frith* syniad sydd gennym ar y gorau am sefyllfa ddyfodol; gweled yr ydym yr awr hon trwy ddrych, yn dywyll, megis mewn dammeg neu ddychymmyg. Y mae y rhan fwyaf o gwestiynau ein mebyd yn aros o hyd heb eu hatteb. Y mae yn wir fod yn y *Rhodd Mam* gynnyg i atteb rhai o honynt, ond y mae'r attebion sydd yn yr Holiadur hwnnw mor amhennodol fel nad ydynt yn boddloni na'r plentyn seithmlwydd na'r gŵr hanner canmlwydd.

Ymha le y mae ysprydoedd y rhai cyfiawn yn disgwyl adgyfodiad y corff? A all cyflwr o ddisgwyliad fod yn gyflwr gwynfydedig? Pa fath ddedwyddwch a all yspryd ei fwynhau ar wahân i'w gorff? A ddichon y saint tra heb eu cyrff weled corff yr Iesu? Pa bryd y bydd yr adgyfodiad cyntaf? Pa bryd y bydd yr adgyfodiad cyffredin? Pa fath gorff a fydd y corff ysprydol? A fydd hwnnw yn cyfatteb o ran maint a llun ac oedran i'r corff a gladdwyd? Os amgen, pa fodd y gall mam adnabod ei phlentyn, neu rywun arall adnabod ei gyfeillion? Pa bryd y bydd dydd y farn? Pa beth a fydd hyd y dydd hwnnw? Ai deuddeng awr, ai deuddeng mlynedd, neu rhyw gyfnod amhennodol? Pa *le* y bydd y farn? Ai ar y ddaear, ai yn y ser, ynte yn y gwagle diderfyn? A gospir ysprydoedd yr annuwiolion am dymmor maith cyn cospi eu cyrff? Ai rhesymmol i Dduw gospi rhywrai cyn dydd y farn, sef cyn eu profi yn euog ar goedd? Pa fath le ydyw uffern? Pa fath le ydyw y nef? Pa fath ddaear a fydd y ddaear newydd? Pa fath nefoedd fydd y nefoedd newydd? Ai y ddaear a'r nefoedd hynny a fydd yn cyfansoddi nef y gogoniant? A fydd yn y nef honno anifeiliaid fel y tybia Esgob Butler, a llysiau a phlanhigion fel y tybia duwinyddion eraill? A fydd yno wiscoedd ac offerynau, megis gynnau gwynion a

thelynau aur, fel y dychmyga'r beirdd? Pa fath orchwylion a fydd yno—a fydd yno ddyscu ar y rhai sydd wedi myned i'r nef cyn gorphen eu hyscol ar y ddaear? A roddir i'r mawr ei ras a'r mawr ei ddeall awdurdod ar rai llai? Mewn geiriau eraill, a fydd thronau ac arglwyddiaethau, tywysogaethau a meddiannau ymhlith y saint, fel sydd yn awr ymhlith yr angylion?

Dyma gwestiynau y darfu ini oll, pan yn blant, eu gofyn i'n rhïeni, ac i ryw hên fodryb; ac y mae yn ddiammau eich bod chwithau, fel myfinnau, yn synnu fod pobl mewn oedran ac yn eu llawn dŵf yn methu âg atteb yn fwy boddhaol. Y mae llawer o honom ni'n hunain erbyn hyn wedi myned cyn hyned ag oeddynt hwythau y pryd hwnnw; ond er hynny, rhaid ini addef na wyddom ni fawr fwy na hwythau am y wlad ddieithr sydd yn gorwedd y tu hwnt i'r mynyddoedd tywyll. Dyma'r unig wybodaeth sicr a ennillasom ar ol magu cîl-ddannedd a'u colli drachefn, sef fod yn haws ini o lawer ofyn cwestiynau pan oeddym yn blant na'u hatteb pan ydym yn ddynion.

Y mae yn ddiammau y buasai Duw wedi dadguddio ini bethau cuddiedig pe buasai yn fuddiol ini eu gwybod. Bron nad allwn ni ein hunain ddyfalu pa ham y cuddiwyd rhai pethau oddi wrthym. Pa ham, er enghraifft, na ddadguddiwyd ini yn eglur beth sy'n dyfod o fabanod a phaganiaid ar ol marw? Am y buasai dadguddiad eglur ynghylch eu tynged yn peri ini naill ai cam-farnu am Dduw, neu ynte gam-ymddwyn tuag at ei greaduriaid ef. Tybed y buasai mammau ymhob rhan o'r byd mor ofalus am fywyd eu babanod pe gwybuasent yn sicr fod gan blentyn wythnos oed well gobaith am fywyd tragwyddol na mab ugeinmlwydd? Na fuasent; canys y mae gennym

enghreifftiau lawer o fammau yn lladd eu babanod er mwyn gwneyd eu cadwedigaeth yn fwy sicr. Tybed y buasai Cristionogion yn ymegnïo cymmaint i ddanfon cenhadon a Beiblau i wledydd paganaidd pe buasent yn sicr na byddai'r paganiaid yn golledig? Na fuasent, yn ddïau; canys y mae rhai sectau Cristionogol yn esceuluso y paganiaid, am eu bod yn credu na chollir monynt o achos eu hanwybodaeth. O'r tu arall, y mae y duwinyddion sy'n haeru yn ddibetrus y bydd babanod a phaganiaid yn golledig, yn peri i rai llednais y tir synio yn annheilwng am Dduw ac am yr efengyl. Ni ŵn i ddim beth a fydd eu tynged; ond mi ŵn hyn, mai Duw graslon a thrugarog iawn yw ein Duw ni, ac nid yw efe ddim llai trugarog o dan oruchwyliaeth yr efengyl nag oedd efe pan arbedodd efe Niniveh, y ddinas fawr, am fod ynddi anifeiliaid lawer, a deuddeng myrdd o ddynion na wyddent ragor rhwng eu llaw dde a'u llaw aswy.

Beth bynnag yw syniadau athrawiaethol rhïeni Methodistaidd am y pechod gwreiddiol, am yr angenrheidrwydd am ffydd yNghrist, ac am fuddioldeb addysc grefyddol, ni welais i erioed dad a mam yn gadael i gredo'r pen eu rhwystro i gredu yn eu càlon fod eu babanod hwy eu hunain yn y nef, pa un bynnag a fedyddiwyd hwynt ai peidio. Er eu bod yn credu fod y neb a fo marw cyn cael cyfleusdra i gredu yNghrist ac i gael addysc yn ei eglwys, yn colli manteision amhrisiadwy, etto ni fynnant gredu ei fod o blegid hynny yn colli ei enaid. Ni fynnwn i roi gormod o bwys ar syniadau'r gàlon; er hynny y maent hwy bob amser yn ëangach, ac yn gyffredin yn gywirach hefyd, na syniadau'r pen, am eu bod yn codi oddi ar reddfau dyfnaf a mwyaf sefydlog y natur ddynol. Sut bynnag, y mae yr amrywiaeth barn a fu yn yr eglwys am gyflwr plant a phobl di-fedydd, yn dangos na

roddwyd un dadganiad eglur yn ei gylch ; ac am hynny nad yw yn weddus i undŷn draethu ei farn yn rhy benderfynol. Yr oedd y Diwygwyr Protestanaidd oll oddi eithr Calvin; ac yr oedd y rhan fwyaf o'r Puritaniaid ar eu hol, yn taeru yn ddifloesgni mai i uffern yr â'i pob pagan, a phob baban di-fedydd, ac nad oedd iachawdwriaeth i neb y tu allan i'r eglwys. Yr oedd y Catholigion, yn y gwrthwyneb, yn haeru na ddemnid byth mo'r rhai hyn o achos camwedd Adda, er y byddai raid eu puro yn rhywle cyn y byddent yn gymmwys i fyned i'r nef.

Erbyn hyn y mae agos bob cyfundeb Protestanaidd wedi troi yn ol, er mwyn derbyn naill ai syniad Eglwys Rhufain neu ynte syniad Calvin, yr hwn, er gwaethaf ei lymder, oedd yn barnu y gallai Duw trwy Iesu Grist, roi nefoedd i blant, ac i baganiaid sy'n ufuddhau i ddeddf eu cydwybod ; a hynny heb gred na bedydd yn y byd hwn, na phurdan yn y byd arall. Os oedd Calvin yn barnu fel hyn, a Luther yn barnu fel arall am dynged paganiaid a babanod di-fedydd, lle da i ni allu penderfynu rhyngddynt. Os gofynnir ini dorri'r ddadl rhwng deuddyn mor enwog, gweddusach ini ddywedyd :—"Ni wyddom ; canys ni ddadguddiwyd ini etto beth a fydd i eraill, na pha beth a fyddwn ni'n hunain." Y mae yn well ini fod heb wybod yr awr hon rhag i'r wybodaeth fod yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr ini. Gwneuthur ein dyledswyddau, ac nid gwybod y dirgelion sy'n weddus ini ar hyn o bryd. Dyscu ei brif apostol i ofalu am ei waith ei hun, ac i beidio âg ymyryd â matterion rhai eraill oedd un o'r gwersi diweddaf a roes yr Iesu ar y ddaear. "Arglwydd," ebe Pedr, "beth a wna hwn—beth a fydd i Ioan?" Yr Iesu a ddywedodd wrtho, "Os mynnaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth yw hynny i ti? Canlyn di fyfi." Os mŷn yr Iesu, trwy ryw fodd anghyffredin, roddi bywyd tra-

gwyddol i rai na chlywsant am dano, ac i rai sy'n rhy ieuanc i gredu ynddo, beth yw hynny i ni? Ei ganlyn yw ein dyledswydd ni; canys nyni a'i clywsom yn galw arnom. Dilynwn *ef* yn y tywyllwch, a thrwy y tywyllwch, ac yn y man ni a ddown allan i oleuni mawr; canys pan ymddanghoso efe, fe dry y nos yn ddydd glan, golau, na bydd terfyn iddo byth.

Yn ail, yr hyn *a* wyddom. Ni a wyddom pan ymddanghoso efe, pan ddadguddier yr Iesu, y byddwn gyffelyb iddo. Y mae'n wir nad yw hyd yn oed y wybodaeth hon yn hollol eglur; eithr y mae hi y wybodaeth egluraf a allesid ei rhoddi. Eglur neu amgen, y mae hi yn wybodaeth ddigonol, ac yn un gwbl foddhaol i bawb o'r saint; canys pa beth a allai roddi mwy o foddlonrwydd iddynt na'r dadguddiad y byddant gyffelyb i'r Iesu megis ag y mae. Pa fath un ydyw efe yr awrhon? Cyffelyb i'r hyn a fydd efe pan y'i dadguddier. Pa fath un ydoedd efe pan ymddanghosodd y waith gyntaf? Un cyffelyb i chwi yn eich gwaradwydd. Pa fath rai a fyddwch chwi pan ymddengys efe yr ail waith? Rhai cyffelyb iddo ef yn ei ogoniant. Gwir, medd rhywrai, ond mynegwch ini pa fath un a fydd efe; canys pe gwyddem beth a fydd efe, yna ni a wybyddem beth a fyddwn ni'n hunain. O! pwy a ddichon ddywedyd beth a fydd efe, cyn ymddangos o hono? Pa *ddyn* a all ei ddadguddio trwy eiriau, cyn i'r Tad ei ddadguddio mewn gweithred a gwirionedd? Fel y mae eich bywyd chwi wedi ei guddio gyd â Christ, felly y mae Crist ei hun, ar hyd o bryd, wedi ei guddio yn Nuw. Ond y mae Duw yn meddwl ei *ddad*-guddio yn niwedd amser; ei ddangos ar goedd, a dwyn allan y Cyntaf-anedig i'r byd, yn ystyr helaethaf yr ymadrodd. I ddadguddio'r *Tad* y daeth y Mab i'r ddaear y waith gyntaf; ac er mwyn dadguddio'r Tad, yr oedd yn rhaid

iddo guddio ei hunan ; ac yn wir, fe ymddieithrodd gymmaint fel nad oedd y byd yn ei adwaen, na'r tywyllwch yn ei amgyffred. Ac ar ol adgyfodi oddi wrth y meirw fe aeth yn fwy-fwy anweledig i'w ddiscyblion ei hun, nes o'r diwedd y diflannodd efe o'u golwg. Diflannu, i fyw bywyd cuddiedig yn Nuw a wnaeth efe wrth escyn. Dydd Duw yw hi heddyw, ond dydd yr Arglwydd—dydd Crist a fydd hi yfory. Y mae dydd dadguddiad y Mab, a dydd dadguddiad y meibion, yn dyfod. I ddadguddio'r Tad, meddaf, yr ymddanghosodd yr Iesu y waith gyntaf ; ond efe a ymddengys yr ail waith i ddadguddio ei hun. Fe ryngodd bodd i'r Tad neillduo diwrnod mawr i roi cyfle i'w Fab i ddangos ei hunan. Y mae yr Iesu yn haeddu gwneuthur o Dduw hyn iddo ; canys fe ymwadodd yn ddirfawr ar y ddaear ; a bron na ddywedwn ei fod, wrth ymguddio yn Nuw, yn parhau i ymwadu yn y nef. Pa anrhydedd bynnag a roddwyd iddo yn wobr am ei waith, ni roddwyd iddo etto yr anrhydedd o *ymddangos* yn holl ogoniant ei Dad. Unwaith, a hynny i ychydig o'i gyfeillion, ar ben mynydd, y rhoes yr Iesu ryw syniad am yr hyn a fydd efe ar ol hyn. Y pryd hwnnw, fe welwyd y goddaith—y *smothering fire* o Dduwdod oedd o'i fewn, yn myned yn wenfflam, gan oleuo ei holl gorff, a gwneuthur hyd yn oed ei ddillad yn glaerwynion. Ond nid ei ogoniant ef oedd y mawr *ragorol* ogoniant y pryd hwnnw chwaith, eithr y gogoniant y daeth y llef oddi wrtho, sef gogoniant y Tad. Yn nydd y dadguddiad y gall yr Iesu ymddangos megis ag y mae ; ac yn y dydd hwnnw y gall y saint ei weled ef megis y mae.

Ni ddadguddiwyd i ni etto bob peth am ein sefyllfa ddyfodol, eithr fe *a* ddadguddiwyd ini un peth ; ac onid yw yr un peth hwnnw yn ddigon ? Ni a wyddom pan ddadguddier ef y byddwn gyffelyb iddo. Ni a wyddom

pan ymddanghoso Crist ein bywyd ni, yr ymddanghoswn ninnau gyd âg ef mewn gogoniant. Pa beth y mae y wybodaeth hon yn ei gynnwys? Y mae hi yn cynnwys y cyfrannogwn ni o bob peth y gall yr Iesu ei gyfrannu ini—y cyfrannogwn o'i fywyd, o'i anian, a hyd yn oed o'i ogoniant. Ië, y mae y testyn yn awgrymu y cawn enw gwell—y cawn deitl mwy anrhydeddus nag sy gennym yn awr. Yr awrhon, *plant* i Dduw ydym, eithr pan ymddanghoso'r Iesu, ni a fyddwn gyffelyb iddo ef, sef yn *feibion* i Dduw, ac yn frodyr i'r *priod* Fab. Yr oedd Crist erioed, ac efe a fydd byth, yn rhy fawr i'w alw yn blentyn Duw; a phan y'n gwneir yn gyffelyb iddo, fe fyddwn ninnau yn rhy fawr i'n galw yn blant. Yr awrhon, *plant* i Dduw ydym; y dydd hwnnw, meibion iddo fyddwn. Y mae hi yn fraint anrhaethol cael bod yn *blant* i Dduw.

"Gwelwch" (medd yr adnod o'r blaen, o'i chyfieithu yn gywir), "gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom fel y'n gelwid yn *blant* i Dduw." Y mae *plant* o dan oed a than faint yn wrthrychau cariad y Tad, o blegid eu perthynas âg ef; ond meibion, wedi cyrraedd mesur oedran a maintioli cyflawnder Crist, y rheini sy'n wrthrychau ymddiried ac anrhydedd y Tad. Hwynt-hwy a gaiff wybod dirgelion Duw; hwynt-hwy a gaiff gyd-deyrnasu â Christ. Ni all y Tad, er cymmaint ei gariad, wneyd cyfeillion o'i blant bychain; ond pan elo y rhain yn feibion, fe fydd yn wiw ganddo eu gwneyd yn gyfeillion hefyd. Y mae yn wir y galwyd Abram yn gyfaill Duw, ac y galwyd yr apostolion unwaith yn gyfeillion Crist; ond am eu bod hwy yn blant *mwy* na'r cyffredin, ac nid am eu bod yn feibion cyflawn y cawsant eu galw felly. Y mae yn wir hefyd fod Paul weithiau (er nad mor fynych chwaith ag y gellid tybied oddi wrth y cyfieithiad cyffredin) yn galw plant Duw yn feibion Duw, ond yn

hytrach o blegid yr hyn a fyddant nag o blegid yr hyn ydynt, y mae efe yn eu galw yn feibion.

Pe na buasai cyfieithwyr y Beibl wedi arfer meibion mor fynych yn lle plant, a phlant weithiau yn lle meibion, fe welsid fod Ioan a Christ yn cyfyngu yr enw "plant" i saint amherffaith, ac yn cyfyngu yr enw "meibion" i saint yr adgyfodiad. Ni fu yr angylion erioed yn blant Duw; meibion Duw ydynt; ac am hynny y dywed yr Iesu am saint perffeithiedig, "Cydstad ydynt â'r angylion, a meibion Duw ydynt, am eu bod yn feibion yr adgyfodiad." Yn briodol, meibion yr adgyfodiad yn unig sy'n feibion Duw. Yn yr adgyfodiad y genir hwynt yn feibion; ac o blegid hynny y geilw yr Iesu yr adgyfodiad yn ad-enedigaeth. Baban a enir o ddŷn; plentyn a enir o Dduw, ond mab a enir o'r bedd. Y mae gan hynny yn hanes y Cristion dair genedigaeth, sef genedigaeth naturiol, genedigaeth ysprydol, a genedigaeth y corff. Genedigaeth i gyflwr natur yw yr enedigaeth gyntaf, genedigaeth i gyflwr o ras yw yr ail, a genedigaeth i gyflwr o ogoniant yw y drydedd. Ac fel y mae dwy enedigaeth, sef ail-enedigaeth ac ad-enedigaeth, yn canlyn yr enedigaeth gyntaf, felly hefyd y mae dau fabwysiad yn ei chanlyn, sef y mabwysiad sy'n cynnwys prynedigaeth yr yspryd, a'r mabwysiad sy'n cynnwys prynedigaeth y corff. Yr un cyfnewidiad y mae genedigaeth a mabwysiad yn ei olygu, ond fod genedigaeth yn golygu dŷn yn farw, a mabwysiad yn ei olygu yn estron. Trwy y naill fel y llall fe ddygir dŷn i berthynas newydd â Duw; ond trwy fabwysiad, ei ddwyn a wneir i sefyllfa newydd, a thrwy ail-enedigaeth ei ddwyn a wneir i fywyd newydd, trwy ddodi ynddo anian newydd. Gair mawr Paul yw mabwyso; gair mawr Ioan yw geni. Yn ol Paul, yr ydym yn blant i Dduw am ein bod wedi'n mabwyso ganddo, yn ol Ioan

yr ydym yn blant i Dduw am ein bod wedi'n geni o hono. Ond ni ellir dyweyd y bydd neb wedi ei eni yn gyflawn hyd oni enir ef y drydedd waith. Ni ellir yn briodol ddyweyd y bydd neb wedi ei fabwyso, sef ei wneyd yn wir fab, hyd oni phryner ei gorff o feddiant angau a'r bedd. Fe rydd y bedd i fyny ei holl feirwon, yn dda a drwg; ond ar saint y bydd o'n escor—hwynt-hwy a enir o hono. Fe gaiff pawb ran yn adgyfodiad y meirw, ond y rhai cyfiawn a adgyfodir *oddi wrth* y meirw. Fe fydd eu hadgyfodiad hwy yn enedigaeth i fywyd newydd.

O! y mae y ddaear yn dechrau clafychu; y mae annelwig ddefnydd y corff a fydd sy'n gorwedd yn ei chrombil, eisys yn aflonyddu, ac yn ymwthio i'r escoreddfa. Ewch i'r fynwent, a sefwch wrth fedd. Oni chlywch chwi ryw siffrwd o dan y dywarchen? Oni welwch chwi'r dywarchen ei hun yn lled ymgodi? Oni welwch chwi lawer bedd arall yn agennu, a llawer carreg yn gwyro? Oni thybygwch chwi fod yr holl lannerch yn gwegian dan eich traed? Trowch eich llygaid tua'r gorllewin, a gogwyddwch eich clust tua'r de. Oni chlywch chwi Etna yn gruddfan yn ddwys, ac oni welwch chwi fynyddoedd yr Andes yn bwrw i fyny fwg a thân? Pa ham y mae'r ddaear yn crynu a'r wybren yn cyffroi? Am fod dydd gwewyr y byd yn agos. Yn y man, fe fydd yr *hên* ddaear farw wrth roi genedigaeth i ddaear newydd. Pa fodd na bydd hi yn newydd wedi agoryd ei holl feddau? Hyd yn oed pe na bai hi yn dwyn yn ei mynwes ei hun y tân a ordeiniwyd i'w llosgi, oni newidir ei gwyneb yn llwyr gan gyffro'r meirw a gladdwyd ynddi? Un fynwent fawr yw y ddaear eisys; ac yr ydym ymhob man yn sangu ar lwch ein tadau. Onid oes escyrn dynion ynghanol y creigiau, ac o dan laid y corsydd? Ni ddichon angel yr adgyfodiad wneyd ei waith heb droi a throsi y ddaear yn

rhyfedd. Pan yrro efe ei aradr trwyddi, fe welir y mynyddoedd â'u gwaelod i fyny, y moroedd yn llithro dros erchwyn eu gwely, yr afonydd yn newid eu hynt, a'r tir diffaeth fel tir braenar. Pan ddarffo i'r angel hwnnw fraenaru iddo fraenar, fe ddwg y ddaear gnwd newydd a gwell—yn lle drain y cyfyd ffynidwydd ; yn lle mieri y cyfyd myrtwydd.

Ond prin y ceir hamdden i sylwi ar gynhyrfiadau daear, a symmudiad y pethau a ysgydwir ; canys yn y dydd y digwydd y pethau hynny y dadguddir yr Iesu ; a phan ymddanghoso efe, fe fydd pob rhyfeddod arall yn diflannu. I fyny y bydd yr olwg fawr. Sain yr udgorn yn yr awyr a fydd y swn rhyfeddaf. Gweled y drysau tragwyddol yn ymagoryd, a'r llu nefol yn dyfod allan drwyddynt. Gweled Mab y dŷn yn araf ddiscyn ar y cwmmwl. Gweled a chlywed y cantorion o'i flaen a'r cerddorion o'i ol—hynny a swyna glust a llygad pob creadur. I bawb a obeithiasant yNghrist ; i bawb a garant ei ymddanghosiad ef, melus odiaeth a fydd deffro a chodi wrth nefol fiwsig y dydd diweddaf. A pha ryw gorff y deuant o'r bedd ? A chorff cyffelyb i gorff yr Iesu ar y mynydd santaidd, ac ar yr orsedd wen. Efe a gyfnewidia—a *wedd*-newidia gorff ein gwaeledd ni fel y gwneler ef yr un ffurf a chorff ei ogoniant ef. Ac fe fydd ein gweddnewidiad ni yn weddnewidiad tragwyddol. Fe fydd y mynydd santaidd y byddwn ni arno yn fynydd heb un ardd Gethsemane na bryn Calfaria o'r tu hwnt iddo. Fe fydd wylofain a marw o'n tu cefn, a llawenydd a bywyd yn ymestyn yn ddi-derfyn o'n tu blaen. Ac nid ein corff yn unig *a* weddnewidir pan ymddanghoso efe—fe dry pob peth yn ddisglaer yn nisglaerdeb ei ddyfodiad ef. Fe aiff y ddaear yn newydd, a'r nefoedd yn newydd. Fe'n gwneir ni'n hunain yn newydd, y tu fewn a'r tu allan.

Os ydym wedi'n geni o Dduw fe'n gwneir ymhob peth yn gyffelyb i'r Cyntaf-anedig. Ni a gawn gorff fel ei gorff golau ef; enaid fel ei enaid glân, gwisc fel ei wisc wèn ef, coron fel ei goron ef, teyrnwialen debyg i'w deyrnwïalen ef, a gorseddfeinciau cyffelyb i'w orseddfainc ef. Os plant yn awr, yna etifeddion hefyd pan elom yn feibion, a chyd-etifeddion â Christ, sef cyfrannogion âg ef yn y frenhiniaeth. Ffugrau ydyw'r ymadroddion hyn, y mae'n wir, ond ffugrau ydynt sy'n dangos y cyfrannogwn nid yn unig o santeiddrwydd Crist ond hefyd o'i ogoniant, o'i anrhydedd ac o'i awdurdod. Pa ham y rhaid amlhau adnodau i gadarnhau peth sydd mor amlwg? Onid yw y testyn ei hun yn dyweyd digon:—"Ni a wyddom, pan ymddanghoso efe y byddwn *gyffelyb* iddo."

Pan elom yn feibion, ni a fyddwn yn ddigon mawr i sefyll megis ar yr un gwastad a'r Cyntaf-anedig; i eistedd gyd âg ef ar yr un fainc, ac i ymddiddan yn rhydd âg ef fel â brawd a chyfaill. Hyd yn oed yn awr, nid yw gywilyddus gan yr Iesu ein galw yn frodyr, er mai plant ydym; canys y mae gennym hanes iddo unwaith ar ol adgyfodi ddywedyd wrth Mair, "Dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt, Yr ŵyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau." Ond yn hytrach er mwyn dangos ei anwyldeb ef tuag attynt hwy nag er mwyn dangos eu perthynas hwy âg ef yr arferodd efe yr enw hwn; canys â'r un anadl ag y mae efe yn dywedyd "fy mrodyr" y mae yn dywedyd hefyd "na chyffwrdd â mi." Os ŵyf yn agos o ran teimlad yr ŵyf erbyn hyn yn bell o ran sefyllfa. Fel enw benthyg ac nid fel enw prïod y rhoes yr Iesu i'r discyblion yr enw hwn. Er na bu gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr; etto, fe fuasai yn anweddus iddynt hwy ei alw ef yn frawd; ac yn wir, ni feiddiodd un Cristion llednais erioed ddywedyd

wrth yr Iesu, "Fy mrawd." Yr un ffunud, er i'r Iesu ddyscu ei ddiscyblion i ddywedyd "*Ein* Tad," etto efe ei hun yn unig a feiddiodd ddywedyd "*Fy* Nhad," am mai efe oedd yr unig *Fab;* ond, y mae y dydd yn dyfod pan y bydd yr Unig-anedig wedi myned yn Gyntaf-anedig ymhlith brodyr lawer; ac o hynny allan, fe fydd yn rhydd i bob mab ddywedyd wrth yr Iesu "Fy mrawd," ac wrth Dduw "Fy Nhad." Addo bod yn Dduw i'r saint yn eu crynswth, ac nid bod yn Dduw i bob sant ar ei ben ei hun a wnaeth Duw yn yr Hên Destament:—"Mi a fyddaf iddynt *hwy* yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn *bobl.*" Ond y mae'r addewid wedi ei newid er gwell yn y Testament Newydd, canys fel hyn y mae hi yn y Dadguddiad, "Mi a fyddaf iddo *ef* yn Dduw, ac yntau a fydd i minnau yn Fab." Henffych i'r dydd pan y gall pob sant, ar ol ymuno yn y cydgan, droi i ganu *solo*, gan ddywedyd :—

"Fy Nuw, fy Nhad, fy Iesu,
Boed clod i'th enw byth."

Yr awrhon, plant ydym ni, ond y mae'r Iesu yn Fab; "ac ni a wyddom pan ymddanghoso efe y byddwn gyffelyb iddo." Onid ein gwneuthur mor debyg ag sydd bossibl i'r Priod Fab ydyw bwriad tragwyddol Duw tuag attom? "o blegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe i fod yn un ffurf a delw ei Fab ef"—yn un ffurf ag ef nid o ran corff ac o ran cymmeriad yn unig, ond o ran mabolaeth, o ran natur hefyd. Fel y mae y Mab yn wir lun y Tad, felly y bydd pob sant yn wir lun y Mab. Os byddi yn gymmwys i fyned trwy y pyrth i'r ddinas nefol, delw yr Iesu a weli ynot dy hun ac ymhob dŷn arall. Wrth y golwg cyntaf, ti a feddyli mai Iesu Grist a fydd pob dŷn y cyfarfyddi âg ef. Mynych y byddi yn gofyn ar y ddaear:—A allaf adnabod fy mherthynasau a'm cyfeillion

ynghanol y dyrfa fawr na ddichon neb eu rhifo? O! pe buaswn i mor hyderus y cawn fyned i'r nef ag wyt ti, hyn yn hytrach a ofynwn i:—A allaf adnabod fy hunan, ar ol fy ngwedd-newid? A all yr Emrys ap Iwan yma adnabod yr Emrys ap Iwan acw? A allaf fi, bechadur truenus, y rhwygwyd ei ddillad yn y drain, ac yr halogwyd ei gnawd gan lwch a llaid y ffordd—a allaf fi ddarganfod fy hunan yn y sant gogoneddus a welir y tu draw i'r bedd? Pan y gweli dy lun yn y palmant aur, neu yn y dŵr gloewlas araf, dyma a ddywedi:—"Tybed mai myfi ydwyf fi?" Os bydd gwaith argyhoeddi arnat o gwbl yn y nef, yr ŵyf yn tueddu i feddwl y ceir mwy o drafferth i'th argyhoeddi mai yr un un ydyw'r hên bechadur a'r sant newydd nag i'th argyhoeddi o ddim arall.

Os bydd yn anodd gan y saint adnabod eu hunain ar ol hyn, pa ryfedd nad yw y byd yn eu hadwaen yr awr hon? Chwychwi sydd heb fod o deulu Duw, na feiwch ormod ar y plant; canys er cynddrwg ydynt, y mae byd o wahaniaeth rhyngddynt â chwi, er pan aned hwynt o Dduw. Y mae iddynt hwy ddyfodol disclaeriach nag sydd i chwi; a hyd yn oed yr awr hon, y maent yn lanach yngolwg Duw nag ydych chwi, am eu bod yn byw yn agosach i'r gwaed a'r drugareddfa. Chwi ellwch ddywedyd fod meflau lawer ar eu gwiscoedd; ond ar doriad borau wawr, fe ddywed rhywun arall am danynt:—"Y rhai hyn yw y rhai a *olchasant* eu gynau, ac a'u *cannasant* yngwaed yr Oen." Chwi ellwch edliw eu bod yn ddi-olwg iawn yn eu dillad gwaith; ond beth a ellwch chwi ei ddywedyd yn eu herbyn pan y'u gwelir yn eu dillad gorau?

"Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg idd eu Harglwydd
Yn d'od i'r lan o'r bedd."

Pan ddadguddir Mab Duw, fe ddadguddir meibion Duw hefyd. Fe fydd yr hên ddŷn wedi ei ddiosc oddi am danynt, ac fe ymddengys y dŷn newydd, y dŷn oddi mewn, yn ei holl harddwch. Y mae hwnnw yn awr yn guddiedig o olwg y byd, ond yn yr adgyfodiad, fe a'i dadguddir. O'r cynronyn sy'n cerdded yn boenus ar ei dòr, fe ddaw allan löyn byw âg iddo adenydd teccach nag adenydd y wawr. Ni a wyddom, pan ddadguddier ef y byddwn gyffelyb iddo. Pa nifer o honom sy'n gwybod *hyn?* Y mae yma lawer un, yn ddiammau, yn barod iawn i werthu pob gwybodaeth sydd ganddo er mwyn prynnu y wybodaeth hon. Er hynny, na ddigalonned neb sydd hebddi; canys er ei bod yn wybodaeth ddymunol, nid yw hi ddim yn wybodaeth anhebgorol. Fe all *gobeithio* bod yn gyffelyb i'r Iesu gael yr un dylanwad ar ein bywyd a *gwybod* y byddwn gyffelyb iddo. "Y mae pob un sy ganddo y *gobaith* hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megis y mae yntau yn bur." A oes rhai o honoch yn cwyno na fedrwch chwi ddim credu? Gobeithiwch ynte. Fe ellir eich iachau trwy obaith. "Gobeithiwch," medd Pedr—"gobeithiwch yn berffaith; *h.y.*, am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist;" canys wrth obeithio am y gras, chwi a feddiannwch y gogoniant sydd ynglŷn âg ef.

*Rhagfyr 29ain, 1894.*



